# Galwad

I'R

# AÑYCHWELEDIG

## I Droi a Byw,

A

Derbyn trugaredd tra byddo truga-
redd iw chael, fel y mynnent gael truga-
redd yn nydd eu cyfyngder:

## Oddiwrth y Duw Byw:

Trwy ei wâs annheilwng

*RICH. BAXTER.*

Ynghyd a Chatechism byrr, a Gweddiau
i Deuluoed, i Blant, a Gwasanaeth-
ddynion, ac i Bechadur Edifeiriol.

Wedi ei atgyweiro wrth ei brintio yr awr
yr Ail waith.

Iw ddarllain mewn teuluoed lle mae nêb heb
ddychwelyd.

Printiedig yn *LLUNDAIN* gan *Thomas Dawks*
Printiwr *yng-Hymraec* i Ardderchoc Fawr-
hydi y BRENIN: tros *E. Brewster*, ac ydynt
iw cael tan lûn y Chryhir ym mynwent
*S. Paul*, 1677.



*At bôb rhai ni sancteiddiwyd a'r a ddarllenno y llyfr hwn, yn enwedigawl fy 'ngwrandawyr yn Nhref a phlwyf* Cederminster.

---

*Ha-wyr frodyr*,

Y Tragywyddol Dduw yr hwn a'ch creuodd i fywyd tragywyddol, ac a'ch prynodd trwy ei unig Fâb, pan oeddych wedi ei golli ef a chwi eich hunain, gan eich cofio yn eich pechod ach trueni, a adroddodd yr Efengyl, ac ai feliodd hi trwy ei Yspryd, ac a orchymynnodd iw weinidogion ei phregethu hi ir bŷd, fel y gallei ef (gan fôd pardwn wedi ei gynnyg i chwi yn rhâd, a'r nefoedd wedi ei gosod o'ch blaen) eich galw chwi ymmaith oddiwrth eich difyrrwch cnawdol, ac o ddilyn y bŷd twyllodrus hwn, a'ch gwneuthur yn gydnabyddus â'r bywyd y creuwyd ac y prynwyd chwi oi blegyd, cyn i chwi feirw, a myned ir cyflwr o'r hwn ni cheir ymwared. Nid yw efe yn anfon i chwi *Brophwydi ac Apostolion*, a'r fy 'n derbyn eu cennadwri trwy ddatguddiad digyfrwng, ond er hynny mae efe yn eich galw trwy ei wenidogion cyffredinol, y rhai a awdurdodwyd gantho ef i bregethu yr un Efengyl ac a draddododd Crist ai *A-*

 *postolion*

*postolion* ar y cyntaf. Mae yr Arglwydd yn sefyll gar llaw i chwi, ac yn canfod pa wêdd yr ydych yn ei anghofio ef a'ch diwedd, a lleied pris a wnewch chwi o bethau tragwyddol; megis dynion heb ddeall beth sydd iddynt iw wneuthur neu iw ddioddef: Mae efe yn gweled hyfed ydych yn y pechod, a difrawed am ei fygythion ef, a diofaled am eich eneidiau; a pha wêdd y mae gorchwylion yr anffyddloniaid yn eich bucheddau, tra y mae ffydd Christianogion yn eich geneuau. Mae efe yn canfod y dydd dychrynadwy yn gyfagos, pan ddechreuo eich cystuddiau, a bôd yn rhaid i chwi alaru am hyn oll ag wylofain diles mewn artaith ac anobaith, ac yno cofflâd o'ch ffolineb a ddryllia eich calonnau, oddieithr i gywir Ddychweliad yn awr ragflaenu hynny. O dosturi ar eich eneidiau truein pechadurus, yr Arglwydd (yr hwn a wyr oddiwrth eich cyflwr yn well nag y gellwch chwi ei wybod) a osododd anghenrhaid arnom i lefaru wrthych yn ei enw ef, (2 *Cor*. 5. 19.) ac i fynegi i chwi yn blaen am eich pechod a'ch trueni, a pheth a fydd eich diwedd, a garwed cyfnewid a gewch chwi ei weled ar fyrder, os ewch chwi etto ymlaen ychydig hwy. Gan iddo eich prynu chwi â phrîs mor werth-fawr a gwaed ei unig fab Jesu Grist, a gwneuthur i chwi y fâth hy-râd a chyffredinol addewid o bardwn a grâs, a thragywyddol ogoniant, mae efe yn gorchymyn i ni gynnyg hyn oll i chwi, megis rhôdd

Duw,

Duw, ac attolwg ar i chwi ystyried angenrheittied yw, a maint a dâl yr hyn y mae ef yn ei gynnyg. Mae ef yn eich gweled, ac yn dostur gantho tra boch yn soddi mewn gofalon a phleserau bydol, ac yn haerllug yn dilyn coeg ddigrifwch pabanaidd, ac yn difrodi am ddiddim y byrr a'r gwerthfawr amser hwnnw, yn yr hwn y dylaech baratoi erbyn tragwyddol fywyd: Ac am hynny efe a orchymynnodd i ni alw ar eich ôl, a mynegi i chwi pa wêdd yr ydych yn colli eich llafur, ac yn debygol i golli eich eneidiau, ac i fynegi i chwi pa pethau mwy a gwell a ellych chwi yn ddiammau eu cael pe grandawech chwi ar ei Alwad ef. (*Isa.* 55. 1, 2, 3.) Yr ydym ni yn credu ac yn vfyddhau i leferydd Duw; ac yn dyfod attoch chwithau ar ei gennadwri ef beunydd, yr hwn a archodd i ni bregethu a bôd yn daer arnoch *mewn amser ac allan o amser, a derchafu ein llais fel utgorn*, a mynegi i chwi eich camweddau a'ch pechodau. *Isa.* 58. 1. 2 *Tim.* 4. 1, 2. Eithr och ysywaeth er gofid in heneidiau ni a'ch destryw eich hunain, yr ydych yn cau eich clustiau, yn ymwarsythu, yn caledu eich calonnau, gan dorri ein calonnau ni, an hanfon yn ôl at Dduw tan ruddfanu, a dywedyd iddo, i ni wneuthur ei gennadwri ef, ond nad allwn ni wneuthur dim daioni arnoch chwi, na chaffael ond prin sobr wrandawiad. O na bai ein llygaid ni Megis *ffynhonnau o ddagrau fel y gallem ni alaru am ein pobl* ddifraw ddi-

 wybod

wybod ; y rhai ſydd a Chriſt ganthynt gar eu bronnau, a phardwn ac einioes, a nêf gar eu bronnau, ac heb ganthynt galonnau iw hadnabod nai priſio! a ellynt gael Criſt a grâs a gogoniant cyſtal ac eraill, oni bai eu gwlltfflôl eſceuluſtra a'u dirmyg! O na lenwai yr Arglwydd ein calonnau ni ag ychwaneg o doſturi tros yr eneidiau truain hyn, fel y gallem ein bwrw ein hunain wrth eu traed hwynt, a'u dîlyn iw tai, a lleſaru wrthynt a'n dagrau chwerw-doſt; Canys hîr y pregethaſom iddynt megis yn ofer o ran llawer o honynt! Yr ydym ni yn aſtudio plaender i beri iddynt ddeall; a llawer o honynt ni ſynnant mo'n deall ni. Yr ydym ni yn aſtudio geiriau dwyſion hydraidd, i beri iddynt fod a theimlad ynthynt, ond ni ſynnant deimlo. Pe gweithiau 'r pethau *mwyaf* gydâ hwynt, ni a'u *deffroem!* Pe gweithiau 'r pethau *pereiddiaf*, ni ai *denem*, ac a enillem eu calonnau hwynt. Pe gweithiau 'r pethau mwyaf *Ofnadwy*, ni a'u *dychrynnem* hwynt or lleiaf oddiwrth eu hanwiredd. Pettau 'r *Gwirionedd â llawn Siccrwydd* yn blaſu gydâ hwynt, ni ai *hargyoeddem* yn y man. Pe gwrandewid ar *Dduw* yr hwn aî *gwnaeth*, ac ar *Griſt* yr hwn ai *prynodd*, fe a giſnewidid y matter gyd â hwynt yn ſuan. Pe gwrandewid yr *yſcrythur* ni a gaem yn ebrwydd ein dymuniad; Pe ceid gwrando ar *Reſwm*, ie y rheſwm goreu a chadarnaf, nid amheuem na byddei i ni yn bryſur eu *hargyoeddi* hwynt. Pe gwrandewyd

randewid ar *Brawf*, ie ar eu prawf eu hunain, a phrawf yr holl fŷd, y matter a wellheid. Je pe cae y *Gydwybod* oi mewn hwynt ei gwrandaw, ſe ſyddai 'r peth yn well gyda hwynt nag y mae. Eithr oni chaiff dim ei wrandaw, pa beth gan hynny a wnawn ni iddynt? Os Duw 'r nefoedd a eſceuluſir pwy y gwneir cyfrif o hono? Os dibriſir gariad tragwerthfawr a gwaed y Prynnwr, o ba beth ygwneir prîs? Onid oes gan y nefoedd ddim gogoniant a ddymunent, ac oni thâl didranc lawenydd ddim; os medrant gellwair ag vffern, a dawnſio ynghylch y pydew diwaelod, a chwareu â'r tân yſſol, a hynny pan ſo Duw a dŷn yn eu rhybuddio; pa beth a wnawn ni ir cyfryw eneidiau â'r rhai hyn?

Unwaith etto yn enw Duw 'r nefoedd, mi a gyſlwynaf i chwi y gennadwri a orchmynwyd i ni, ac ai gadawaf yn y llinellau ſafadwy hyn, ich dychwelyd, neu 'ch condemnio; i'ch newid neu i godi yn y farn ich erbyn, ac i fod yn dyſtiolaeth yn eich wynebau, gael o honoch chwi vnwaith *Alwad difrifol i Droi*. Clywch hyn chwi ddeiliaid y bŷd, gweiſion y cnawd a Satan, y rhai ydych yn treulio eich dyddiau yn edrych ar ol hawddfyd ar y ddaiar: ac yn boddi eich cydwybodau mewn cyfeddach, glothineb, a ſeguryd, ac ynfyd ddigrifwch: A adwaenoch chwi bechod, ac er hynny a bechwch, megis pe faech yn ymdderru â Duw ac yn peri iddo

wneuthur ei waethaf, ac nad arbedo? Clywych chwi oll a'r nad ydych yn meddwl am Dduw, ac heb galon gennych ir pethau sanctaidd, nag yn clywaid blâs ar air ac addoliad yr Arglwydd, nag yn meddwl neu grybwyll am fywyd tragwyddol; Y rhai ydych ddiofal am eich eneidiau anfarwol, heb hepgor vn awr i holi pa gyflwr y maent ynddo, ai sanctei ddiedig ai halogedig, ac a ydych chwi barod i ymddangos gar bron yr Arglwydd! Clywch chwi oll y rhai trwy bechu yn y goleuni, ach pechasoch eich hunain i Annuwdeb ac Anffyddlondeb, ac ydych heb gredu gair Duw. Yr hwn sydd gantho glustiau i wrando gwrandawed ar rasol ag etto ofnadwy Alwad Duw! mae ei lygad ef arnoch chwi yr holl amser hwn. Mae 'ch pechodau wedi eu dodi ar lawr, ac chwi a fyddwch siccr o glywed oddiwrthynt oll drachefn; Mae Duw yn cadw y llyfr yn awr; ac ef ai hyscrifenna ef ar eich cydwybodau chwi âi ddychryniadau, ac yno y cewch chwithau hefyd ei gadw ef eich hunain. O bechaduriaid, nas gwyddech chwi beth yr ydych yn ei wneuthur, a phwy yr ydych chwi hyd yn hyn yn gwneuthur iw erbyn! Tywyllwch yw yr haul ei hun o flaen gogoniant y Mawrhydi hwnnw yr ydych chwi beunydd yn ei gamarfer, ac yn ddifraw yn ei gyffroi. Nid oedd yr Angylion pechadurus abl i sefyll gar ei fron ef, eithr hwy a daflwyd i lawr i fod yn gythreuliaid poenydiol. Ac a feiddia y fâth

bryfedach diſynwyr â chwi, ei wrthwy-
nebu ef mor ddiofn, ac ymoſod yn erbyn
eich gwneuthur-wr ! O na fedrech chwi
wybod peth ynghylch y cyflwr y mae yr
enaid truan hwnnw yntho yr hwn a gyff-
rodd y Duw byw yn ei erbyn ! Y gair o en-
au yr hwn ath wnaeth a ddichon dy
ddadwneuthur di. Un wyneb-guwch o'r
eiddo ath dyrr di ymmaith, ac ath deifl all-
an ir tywyllwch eithaf. Beth am daered yw
'r Cythreiliad ath demptiaſant i ymyrreth
â thi, heb ddim ond diſgwyl y gair oddiwrth
Dduw ith gymmeryd ac ith drin megis yr ei-
ddynt, ac yno mewn mynudyn ti a fyddi yn
Uffern. Os bydd Duw yn dy erbyn mae pôb
peth yn dy erbyn. Nid yw 'r bŷd hwn ond
dy garchar, er maint dy gariad di iddo;
nid wyt ond ynghadw ynddo erbyn dydd
digofaint. (*Job* 21. 30.) mae dy farnwr yn
dyfod, ath enaid ar gychwyn. Ar ben y-
chydig y dywaid dy gyfeillion am danat *Efe
a fu farw :* A thi a gei weled y pethau a
ddyrmygi yn awr, a theimlo yr hyn ni fynni
yn awr moi goelio. Angau a ddaw â'r fath re-
ſwm na fedrych moi atteb: Rheſwm a wrth-
brofiff yn nerthol dy geccryſ-wawd di yn er-
byn gair Duw ai ffyrdd, ath holl wall-goſ gor-
hydrus. Ac yno gynted y newid dy feddwl di?
Bydd anghredadyn y pryd hynny os medri.
Saf yn dy eiriau o'r blaen y pryd hynny, y
rhai y byddit gynefin oi hadrodd yn erbyn
yr yſcrythyrau ac yn erbyn ſanctaidd a

nefolaidd fuchedd! Gwna 'r matter hwnnw yn dda gar bron yr Arglwydd y pryd hynny, yr hwn y byddit gynefin oi ddadleu yn erbyn dy ddyſcawdwyr ac yn erbyn y bobl a ofnent Dduw. Sa'r pryd hwnnw yn dy hên opinionau a'th ddirmygus feddyliau ynghylch diwydrwydd y Saint. Paratôa weithan dy reſymmau cadarnaf, a ſaf ar dy draed y pryd hynny gar bron dy farnwr, a dadleua fel gwr tros dy fuchedd gnawdol, ſydol, ac annuwiol. Eithr gwybydd y cei di ûn i ymddadleu ag ef, na oſtwng moi ben erot, ac ni throir heibio cyn hawſed â nyni dy gyd-greaduriaid. Ch enaid truan gwael ſiommedig! Nid oes dim ond llen deneu o gnawd rhyngot ti ar golwg rhyfeddol hwnnw, a'th oſtega di yn fuan, ac a drû dy dôn, ac ath wna o feddwl arall! Hwy'n gyntaf ac y tynno Angeu ymmaith y gaeadlen hon, ti a gei weled yr hyn ath deri yn ebrwydd yn fûd. Ac (oh) gyflymed y daw y dydd a'r awr honno! pan geflych ond ychydig ychwaneg o oriau difir, ac ychydig ychwaneg o lymeidiau a thammeidiau peraidd,ac ychydig ychwaneg o barch a golud ybŷd,dy gyfran a dderfydd,ath ddifyrrwch a ddibennir:Ac yna y bydd pob peth gwedi myned ymmaith y goſodoiſt dy galon arno:Or hyn oll y gwerthaiſt dy Jachawdwr ath Jechydwriaeth am dano, ni bydd dim gwedi ei adael ond y cyfri garw. Megis lleidr, yr hwn ſy'n eiſtedd mewn tafarn i yfed yr arian a ledrattodd ef, pan fo gwyr yn marchogaeth

aeth ar lawn-dŷth iw ddal ef; felly y mae gydâ chwi. Tra 'r ydych wedi boddi mewn gofalon a difyrrwch cnawdol, ac yn ymlawenychu yn eich gwradwydd, mae angeu ar ei lawn-dŷth yn dyfod i gymeryd gafael arnoch ich cludo ymmaith ir cyfryw lê, a chyflwr, nad ydych yn gwybod yn awr fawr oddiwrtho, nag yn meddwl am dano. Bwriwch pan fôch hyderûs a phrysur yn eich pechod, fod cennad yn dyfod o Lundain ar ffrwst ich dal ac i ddwyn ymmaith eich hoedl; er na byddech yn ei weled, etto os gwyddech ei fod efyn dyfod, fe anrheithiai eich digrifwch, a chwithau fyddech yn meddwl am y prysuro y mae, ac yn ymwrando pa bryd y curai wrth y drws: Oh na fedrech chwi weled brysured y mae angeu yn dyfod, er nas goddiweddodd chwi etto! nid oes Redegwr cyn gyflymed! na chennad siccrach! Cyn siccred ac y bydd yr haul gydâ chwi 'r borau, er bod iddo filoedd neu gan-mil o filltyroedd i fyned ar hyd y nôs; mor siccir y bydd angeu gyda chwi ar fyrder; ac yna ple bydd eich difyrrwch a'ch digrifwch! A fydd i chwi ei chellwair hi ai ymhoywi hi y prŷd hynny? A wawdiwch chwi y pryd hynny y rhai a'ch rhybuddiodd? Yna pa un oreu bôd ai yn sant credadwy, ai ynteu yn fydolddyn anianol? Ac yna eiddo pwy fydd y pethau a baratoesoch? (*Luc.* 12. 19, 20, 21.) Ai nid ydych chwi yn dal fod dyddiau ac wythno-

ſau yn drachwyrn yn darſod? a bod hwyr a borau yn dyfod mewn dibendod, ac yn pryſur ymganlyn ol yn ol? Yr ydych chwi yn cyſgu, eithr nid yw eich colledigaeth yn heppian: Segura yr ydych chwi, eithr eich barnedigaeth er yſtalm nid iw ſegur. (2 *Pet.* 2. 3, 4, 5.) *ir hon ich cedwir ich poeni.* (2 *Pet.* 2. 8, 9.) *Oh na baech doethion, na ddeallech hyn, ac nad yſtyriech eich diwedd, Deut.* 32. 29. Yr hwn ſy' gantho glûſt i wrando gwrandawed ar Alwad Duw yn y dydd hwn o'i iechydwriaeth.

Oh bechaduriad dioſal, nad adwaenech y cariad yr ydych chwi yn anniolchgar yn ei eſceuluſo, a gwerſawrogrwydd gwaed Criſt yr hwn yr ydych chwi yn ei ddirmygu! Oh nad adwaenech olud yr Efengyl! Oh nad adwaenech, na frith-adwaenech ſiccrwydd, gogoniant, a dedwyddwch y bywyd tragwyddol hwnnw, yr hwn ni oſoddwch chwi mo'ch calonnau arno yn awr, ac ni'ch annogir iw geiſio yn ddiwid ac yn y man cyntaf! (*Heb.* 11. 6. a'r 12. 28. *Matth.* 6. 33.) Pettech chwi ond adnabod y didrangc ſywyd gyd â Duw, yr hwn yr ydych yn awr yn ei eſceuluſo, mor gyflym y bwriech chwi ymmaith eich pechod! gynted y newidiech chwi eich meddwl a'ch buched, eich helynt a'ch cymdeithas! ac y trôech ffrŵd eich anwydau, ac y goſodech allan eich goſal ffordd arall? mor llwyr-fryd y gwrthodech ymroi ir ſath broſedigaethau ac ſydd yn awr yn eich twyllo, ac yn eich dwyn ymmaith

ith! Mor wreſog yr ymgynhyrſech at y bywyd bendigedicaf hwnnw! daered ſyddech ar Dduw mewn gweddi! ddyfaled yn gwrando, yn dyſgu, ac yn ymofyn! ddifrifed yn myfyrio yn neddfau Duw! (*Pſal.* 1. 2.) Mor arſwydus rhag pechu ar feddwl, gair, neu weithred! Ac mor ofalus am ryngu bôdd Duw, a chynnyddu mewn ſancteiddrwydd! Oh pa bobl wedi ei newyd fyddech chwi! A pha ham na chae ſiccr air Duw ei gredu gynnych a thyccio yn eich plith? yr hwn ſy'n datcuddio i chwi y pethau gogoneddus, a thragwyddol hyn.

Ie meddaf i chwi, bychan y gwyddoch chwi y rhagor ymma ar y ddaiar, rhwng y bywyd yr ydych yn ei wrthod, a'r bywyd yr ydych yn ei ddewis! Mae y rhai ſancteiddiedig a'u ymarweddiad gydâ Duw, pan na lefeſwch chwi ond prin meddwl am dano ef, a phan nad ydych chwi ond ymgyfeilliach â'r ddaiar ac â'r cnawd. Mae *eu hymarweddiad hwynt yn y nefoedd*, pan ydych chwi yn llwyr ddieithr iddi, a'ch *bol yn Dduw i chwi, ac yn ſynnied pethau daiarol. Phil.* 3. 18, 19, 20. Maent hwy yn ceiſio wyneb Duw, pan nad ydych chwi yn ceiſio dim uwchlaw r' bŷd hwn. Maent hwy yn bryſur yn ymwneuthur am fywyd didrangcedig, lle cânt fod yn ogyfywch â'r Angylion, (*Luc.* 20. 36.) pan ydych chwi yn ymhel â chyſgod ac â pheth diddim darfodedig. mor iſel, a gwael yw eich bywyd daiarol, cnawdol, pechadurus chwi,

oi

oi gyffelybu i freiniol fywyd yfprydol y gwir gredadwy! llawer gwaith yr edrychais i trwy ofid a thoftûri ar y cyfryw ddynion, wrth eu gweled yn ymdrafferthu am y bŷd, ac yn gwario eu bywyd a'u gofal a'u llafur, am ddim amgenach nag ymborth a dillad, neu ddifyrrwch cnawdol, neu ychydig elw darfodedig, neu wâg-ogoniant, fel ped faent heb pethau uwch i feddwl am danynt. Pa ragor fydd rhwng bywyd y dynyon hyn, a'r *anifeiliaid a ddifethir*, y rhai fyn gwario eu hamfer yn gweithio, ac yn bwyta, ac yn byw, fel y gallont fyw? Nid ydynt yn profi o'r difyrrwch nefol oddifewn y mae y rhai fy'n credu yn ei brofi, ac yn byw arno. Gwell gennyfi gael ychydig o'u cyffurau hwynt, y rhai y maent yn eu cael oddiwrth eu rhagfeddyliau am eu nefol etifeddiaeth, pe rhon i mi a chael eu holl wradwyddiadau a'u dioddefiadau hwynt iw canlyn, na chael eich holl hyfrydwch a'ch llwyddiant twyllodrus chwi. Ni fynnwn i gael un o'ch dirgel gnofeudd a'ch gwewyr cydwybod chwi, ac o'ch tywyllddu ddychrynllyd feddyliau am farwolaeth a'r bywyd fydd i ddyfod, er cwbl ar â wnaeth y bŷd eroch erioed, neu a'r a ellwch yn rhefymol ei obeithio y gwnaiff. Pettwn i yn eich cyflwr cnawdol didrôedig chwi, ac yn gwybod ond a wn i, ac yn coelio ond yr wyfi yn awr yn ei goelio, mi dybygwn na byddei fy einioes ond blaenor-flâs o uffern: fynyched y meddyliwn i am ddychryniadau yr Arglwydd,

ac am y dydd alaethus ſy'n pryſuro dyfod! yn ſiccr marwolaeth ac Vffern fyddent yn oeſtadol gar fy mron; Mi a feddyliwn am danynt y dydd, ac a freuddwydiwn am danynt y nôs, mewn ofn y gorweddwn, mewn ofn y cyfodwn, mewn ofn y byddwn fyw, rhag i angeu ddyfod cyn ſy'n rhoi. Ni chawn ni ond ychydig ddedwyddwch mewn dim a'r a feddwn; ac ond ychydyg hyfrydwch mewn un gymdeithas; ac ond ychydig lawenydd mewn dim yn y bŷd cyhyd ac y gwyddwn fy mod fy hun dan felltith a digofaint Duw: fe fyddei arſwyd arnaf yn oeſtadol rhag clywed yr ymadrodd hwnnw, Luc. 12. 20. [ *O ynfyd y nôs hon y gofynnant dy enaid oddi wrthit.*] a'r farn ofnadwy honno a fyddei yn yſcrifennedig ar fy 'nghydwybod, Eſa. 48. 22. ac 57. 21. [ *Nid oes heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol.*] O bechaduriaid truain! Chwi a ellych fyw bywyd llawenach na hwn pettych chwi ond *mynnu*, *ond mynnu* mewn gwirioneddd wrando ar Griſt, a dyfod adref at Dduw. Yna chwi a ellych neſſau at Dduw yn hyderus, a'i alw yn Dâd i chwi, ac yn gyſſurus ymddiried iddo am eich eneidiau a'ch cyrph. Os edrychech ar *Addewidion*, chwi a ellech ddywedyd, eiddo fi ydynt oll. Os ar y felltith, chwi ellech ddywedyd [ *Oddiwrth hon fe am gwaredwyd.*] Pan ddarllennech y gyfraith, chwi a ellech weled pa beth yr achubwyd chwi rhagddo: Pan ddarllennech yr Efengyl, chwi a gech weled yr hwn a'ch prynnodd, a

gwe-

gweled yſtod ei gariad ef, a'i fuchedd ſanctaidd, a'i ddioddefiadau, a'i olrhen yn ei broſedigaethau a'i ddagrau, a'i waed yngwaith eich hiechydwriaeth. Chwi ellech weled angeu wedi ei goncweru, a'r nefoed wedi ei hagoryd, a'ch adgyfodiad a'ch gogoneddiad wedi eu paratoi yn adgyfodiad a gogoneddiad eich Arglwydd. Os edrychech ar y ſeintiau, chwi a ellech ddywedyd [*ein brodyr a'n cymdeithion ydynt.*] os ar y rhai ni ſanćteiddiwyd, chwi a ellech lawenychu feddwl eich bod chwi gwedi eich gwaredu o'r cyflwr hwnnw. Os edrychech ar y nefoedd, yr haul, a'r lloer, a'r aneirif ſêr, chwi ellech feddwl a dywedyd [*Mae wyneb-pryd fy Nhâd yn fwy gogoneddus: efe a ddarparodd bethau uwch iw Sainct: nid yw hwn accw ond y cyntedd o'r tu allan ir nefoedd. Mae'r dedwyddwch a addawodd efe i mi yn uwch, nag y gall cig a gwaed ei ganfod.*] Os meddyliwch am y bêdd, chwi a ellwch gofio fod ir *Gogoneddus yſpryd, y Bywiol Ben, a'r Tâd caredig*, i gyd oll berthynas mor agos i'ch llwch, nas gellir mo'i anghofio nai eſceuluſo, ond yr adfywir ef yn fwy ſiccr na'r planhygion a'r llyſiau y gwanwyn; am fod yr enaid fyth yn fyw, yr hwn yw gwreiddin y corph, a Chriſt yn fyw, yr hwn yw gwreiddin y ddau. Gellir cofio marwolaeth ei hun, yr hon yw *brenin dychryniadau*, a'i chroeſawu yn llawen; megis dydd eich gwaredigaeth oddiwrth weddillion pechod a gofid, a'r dydd yr hwn y gredaſoch,

ſoch, y gobeithiaſoch, ac y diſgwiliaſoch amdano, i gael gweled y pethau daionus y clywſech ſôn am danynt, a gwybod trwy lonnwych brawf beth oedd *dewis y rhan oreu*, a bod yn bur gredadwy Sanct. Pa beth a ddywedwch chwi bendefigion? Onid yw hwn yn fywyd mwy hyfryd-lawn ſef bod yn ſiccr o iechydwriaeth, a pharodol i farw, na byw fel y mae'r annuwiol, y rhai ſydd a'u calonnau *gwedi eu trymhau gan lothineb, meddwdod, a gofalon y bywyd hwn, a'r dydd hwnnw felly a ddaw arnynt yn ddiſymmwth. Luc.* 21. 34. 36. Onid ellych chwi fyw bywyd cyſſurus, pettech chwi unwaith wedi eich gwneuthur yn etifeddion y nefoedd, ac yn ſiccr o fôd yn gadwedig pan ymadawoch ar bŷd? Oh edrychwch yn eich cylch, a meddyliwch beth yr ydych yn ei wneuthur, ac na theflwch ymmaith mor fath obeithion a hyn am ddiddim. Ni all y cnawd a'r bŷd roddi i chwi ddim o'r fath obaith a chyſſurau.

Ac heb law yr holl drueni yr ydych yn ei ddwyn arnoch eich hunain. yr ydych chwi yn drallodwyr i eraill cyhyd ac yr ydych chwi heb ddychwelyd. Yr ydych chwi yn blino ſwyddogion i'ch rheoli trwy eu cyfreithiau. Yr ydych chwi yn blino gweinidogion trwy wrthwynebu y goleuni a'r cyfarwyddyd y maent yn ei gynnyg i chwi. Eich pechod a'ch trueni iw'r gofid a'r blinder mwyaf iddynt hwy yn y bŷd. Yr ydych yn blino y wladwriaeth, ac yn tynny barnedigaethau Duw arnom

nom ni. Chwychwi sydd fwyaf yn aflonyddu heddwch a threfn sanctaidd yr Eglwysi, ac yn rhwystro'n hundeb a'n hadgyweiriad, ac ydych gwilydd a blinder ir Eglwysi yr ydych yn ymhyrddu iddynt, ac ir llêoedd yr ydych ynddynt. Och Arglwydd! Pa gyflwr gorthrwm a gofidus yw hwn, bod hyd yn oed ym Mrhydain lle mae'r Efengyl yn amlach nag mewn un genedl yn y bŷd, lle mae dysgeidiaeth mor blaen a chyffredin, a phob moddion wrth law a'r a allwn ni eu dymuno: Pan yw'r cleddyf wedi ein yscrythru ni i lawr, a barn wedi rhedeg trwy'r tir megis tân; Gwedi i waredigaethau roddi i ni ollyngdod, ac i gynifer o drugareddau rhyfeddol roddi rhwym arnom ni i Dduw, ac ir Efengyl, ac i fyw yn sanctaidd; bod ein Dinasoedd a'n Trefydd a'n Gwledydd yn ol hyn i gyd cyn llawned o ddynion aflan, ac yn heidio o gymmaint drygchwant fal y gwelwn ni er gofid i ni ym mhob man! fe dybiasai un yn ôl yr holl oleuni hwn, a'r holl brawf ymma, a holl farnedigethau Duw a'i drugareddau hyn, y buasai bobl y wlâd ymma yn ymgysylltu ynghŷd megis ûn gwr i droi at yr Arglwydd, ac y doethent at eu hathrawon duwiol, ac y galarasent am eu holl bechodau o'r blaen, ac a dymunasent arnynt ymgysylltu â hwynt mewn ymostyngiad cyhoedd, iw cyfaddeu hwynt ar osteg, ac i erfyn pardwn am danynt gan yr Arglwydd; ac y buasent yn ymbil am eu haddysc o ran yr amser i ddyfod,

ac y buaſai dda ganthynt gael eu rheoli gan yr Yſpryd oddiſewn, a chan wenidogion Criſt oddiallan, yn ol gair Duw: fe dybygai un ar ôl cymmaint eglurder o reſwm ac yſcrythyr ac y maent hwy yn ei glywed, ac yn ôl yr holl foddion a'r trugareddau hyn, na fyddai undyn annuwiol yn ein plith gwedi ei adael, na bydol-ddyn, na meddwyn, na châſawr adcyweiriad na gelyn ſancteiddrwydd iw gael yn ein holl drefydd a'n gwledydd. Oni chytunwn ni oll ynghylch rhai Ceremoniau a ffurſau ar lywodwraeth, fe dybygai un y cytunaſem cyn hyn oll i fyw bywyd ſanctaidd a nefolaidd, mewn vfydd-dod i Dduw a'i air, a'i weinidogion, ac mewn cariad a heddwch ai gilydd. Eithr yſywaeth belled yw ein pobl oddiwrth hyn: maent y rhan fwyaf o honynt ym mhob llê gan mwyaf yn goſod eu calonnau ar bethau daiarol, ac heb *geiſio yn gyntaf deirnas Dduw, a'i gyfiawnder ef*; ond yn edrych ar ſancteiddrwydd magis peth a ellir ei hepcor: Mae eu teuluoedd heb vn weddi, neu rhaid i ychydig eiriau marwedd digalon waſanaethu yn lle beunyddiol weddiau gwreſog calonog: Mae eu plant heb ddyſcu gwybodaeth o Griſt, nac or cyfammod grâs, na'u maethu yn addyſc *yr Arglwydd*, er iddynt wneuthur gau-addewid o hyn oll yn eu bedydd. Nid ydynt yn addyſcu eu gweiſion mewn matterion iechydwriaeth, am y gwneler eu gorchwylion hwynt, nis gwaeth ganthynt hwy. Mae mwy o lŵon a

rhêgon,

rhêgon, ac ymadroddion ſerth a ſarrhâus yn eu teuluoedd, nag o eiriau graſol yn tueddu at adeiladaeth. Och anamled yw'r teuluoedd ſy'n ofni 'r Arglwydd, ac yn ymofyn ai air ef ai weinidogion, pa fôdd y dylâent fyw, a pha beth a ddylaent ei wneuthur, ac ydynt yn ewyllyſio cael eu dyſcu au rheoli, ac ſydd o'r galon yn edrych am fywyd tragywyddol! A'r ychydig hynny ar a wnaeth Duw mor ddedwydd, ydynt fynychaf yn gyſaccen iw cymydogion. Pan ydym ni yn gweled rhai yn byw mewn meddwdod, a rhai mewn balchder a bŷd-garwch, a'r rhan fwyaf o honynt ag ychydig ofal arnynt am eu hiechydwriaeth; er bod y matter yn amlug ac yn llwyr ddiddadl, anhawdd er hynny yw peri iddynt goelio eu bod mewn trueni, ac anhaws yw eu hadferu ai hadgyweirio. Eithr gwedi i ni wneuthur cymmaint ac a allom o ran eu gwaredu hwynt rhag eu pechodau, yr ydym ni yn gadael y rhan fwyaf o honynt fel yr ydym ni yn eu cael. Ac os nyni yn ôl cyfraith Duw ai bwriwn hwynt allan o gymundeb yr Eglwys, pan fônt yn yſtyfnig wedi gwrthod ein holl rybuddion ni, hwy a derfyſcant i'n herbyn fel ped faem ni gelynion iddynt, a'u calonnau a lenwir â malais in herbyn: ac hwy a ymoſodant yn erbyn yr Arglwydd a'i ddeddfau, a'i Eglwys, a'i weinidogion yn gynt nag yn erbyn eu pechodau angheuol. Hwn yw cyflwr wyloſus Prydain, mae gennym ni ſwyddogion yn perchi ffyrdd duwioldeb; ac

i mae

i mae adeg ddedwyddol heſyd i Vndeb a diwygiad o'n blaen, a gweinidogion ffyddlon yn hîr ganthynt am weled iawn drefniad yr Eglwys, ac Ordinhadau Duw. Ond mae grym pechod yn ein pobl ni yn gwneuthur y cwbl agos yn ofer. Ni all gweinidog ffyddlon yn unlle oſod i ſynu ddiddadl reolaeth Criſt, nac attal mor pechaduriad anediſeiriol mwyaf drygſawr oddiwrth *Gymmundeb* yr Eglwys a chyfranniad y Sacramentau, na bo'r bobl gan mwyaf yn rhoi anfri arnynt, ac yn eu diſenwi: fel ped ſae'r bobl ddiwybod ddiofal hyn yn doethach na'u hathrawon, neu Dduw ei hun; ac yn gymhwyſach na hwynt hwy i reoli'r Eglwys. Ac fal hyn yn Nydd ein hymweliad pan alwo Duw arnom i ddiwygio ei Eglwys, er bod y ſwyddogion yn ymddangos yn ſodlon, a bod y gweinidogion ffyddlon yn ſodlon, er hy nny mae'r dorſ o bobl ſyth yn anſodlon: a phechod ai dallodd hwynt felly, ac a galedodd eu calonnau, hyd onid ydynt yn y dyddiau hyn o oleuni a grâs yn elynion yſtyſnig i oleuni a grâs, ac ni ddoir a hwynt trwy un galwad oddiwrth Dduw i ganſod eu ffolineb, ac i wybod beth ſydd dda iddynt. *Oh na wyddai Bobloedd Prydain yn eu dydd hwn y pethau a berthyn iw heddwch, cyn eu bod yn guddiedig oddiwrth eu golwg hwynt! Luc.* 19. 42.

*Och o druein diſynwyr!* (*Gal.* 3. 1.) *Pwy a lygadtynodd* eich meddyliau ir cyfryw wallgof,

gof, a'ch calonnau ir cyfryw farweidd-dra, ac y byddech chwi y fath elynion marwol i chwi eich hunain, a myned ym mlaen mor afrywiog tu a damnedigaeth, nad all na gair Duw, nag annogaethau dynion droi eich meddyliau, na dal eich dwylo, na'ch attal nes eich bôd yn anfeddyginiaethol. Aha, bechaduriaid! ni pheru 'r bŷd yma byth, ni ddifgwil dioddefgarwch ymma wrthych chwi yn oeftadol! na feddyliwch y cewch chwi amherchi eich gwneuthurwr a'ch prynnwr, a gwafaneuthu eu elynion ef, a diftadlu 'ch eneidiau, a blino 'r bŷd, a gwneuthur cam ar Eglwys, a gwradwyddo 'r duwiol, a thriftau eich Athrawon, a rhwyftro diwygiad, a hyn oll yn rhâd. Ni wyddoch chwi etto pa faint a goftia hyn i chwi; eithr chwi a gewch wybod cyn pen nemmawr, pan gymero y cyfiawn Dduw chwi mewn llaw, yr hwn a'ch trin mewn môdd amgenach na'r fwyddogion toftaf, ac nag y gwnaeth y dyfcawdwyr mwyaf dilachr: Oddieithr i chwi ragflaenu y poenau tragwyddol trwy *Droad* dichwareu, ac vfydd-dod di-oed i *Alwad Duw. Yr hwn fydd gantho gluft i wrando, gwrandawed, tra bytho llais gan drugaredd i Alw.*

Vn Gwrth-ddadl efrydd (yr hwn a grybwyllaf i am dano ond yn rhy fyrr ar ol hyn) yr wyfi yn ei gael yn glynu yn dynn wrth galonnau bagad o ddynion annuwiol. Maent yn tybied nad oes gan *Dduw* gymmaint matter *pa beth a feddylio; neu a ddywedo, neu a*

*wnelo*

*wnelo dynion, ac yr ydym ni yn ceisio dwyn ar ddeall iddynt, ac am hynny y mae cyn lleied matter ganthynt hwy eu hunain.* Er mwyn argyoeddi y cyfryw ddynion Di-Dduw á'r rhai hyn, mi a adroddaf y Queſtiwnau hyn ſy'n canlyn.

1. A wyt ti yn tybied fod Duw yn goſalu am dy fod ti yn ddŷn, ai peidio? onid wyt; pwy ath wnaeth, ac ſydd yn dy gadw? os efe ſydd, yna yn ddiammau mae matter gantho am i ti dy ymddwyn dy hun megis dŷn. Nid oes neb cyn ynfytted a gwneuthur dodrefnyn yn y bŷd, neu adeiladu tŷ, ncu long, ac heb fod yn waeth gantho gwedi ei gwneuthur pa un a fo ai da ir defnydd y gwnaethpwyd ef oi blegyd, ai no bo. Rhag cwilydd na fwrw ar Dduw 'r Doethineb y fath ynfydrwydd, fel ped fae ef gwedi gwneuthur creadur mor enwog ac yw dyn; ai gynyſgaeddu â'r cyfryw gyneddfau enwog a'r cwbl i ddim; ac nad oes fatter gantho pa beth a ddel o hono gwedi ei wneuthur ef. Pam y rhoddai Duw i ti feddwl a fedr ei adnabod, a chalon a ddichon ei garu ef, onid oedd waeth gantho pa un a wneit ai adnobod ef, ai garu ef, ai peidio? Oni welwch chwi yn Rheol natur bob peth wedi ei gymhwyſo ir defnydd y mae ef iddo? Nid edwyn yr Anifeiliaid mo Dduw, nid allant ei garu ef chwaith am na wnaethpwyd mhonynt hwy i ddim or fâth ddefnydd; Eithr mae dy amgyffred deallus di yn dangcs dy wneuthur di o ran Duw, ac o ran bywyd a ddaw.

2. A

2. A wyt ti yn meddwl fod Duw ym mhob man yn bresennol, yn anfeidrol, ac *yn Holl-alluoc*? Onid wyt nid ydwyt ti yn credu moi fod ef yn Dduw: ac y mae yn anrhesymmol dybied wneuthur o Dduw fŷd mwy a helaethach ei amgyffred nag ef ei hun; am nad all neb gyfrannu ychwaneg nag sydd gantho. Eithr os gorfydd iti gyfaddeu fod Duw ymhob man, ac mor ddigonol i bôb dŷn ar ei ben ei hun, a phed fae heb vn creadur arall gantho i edrych am dano. Yna mae yn rhaid yt gyfaddau nad yw ef ddifatter am galonnau a ffyrdd meibion dynion: Canys pethau ydynt hwy sy'n oestadol gar bron ei lygaid ef. Y meddyliau coeg-wael a chableddus am Dduw, fel pettau ef derfynol, neu absennol, neu yn annigonol, sy'n peri i ddynion feddwl ei fod ef mor ddiystyr am eu calonnau, a'u ffyrd hwynt.

3. A wyt ti yn tybied fod gan Dduw ofal am dy *gorph*? ai clâf fyddech ai iâch, ai byw ai marw? Onid wyt, yna pa fodd yr wyt ti yn dyfod o hyd ith fywyd, ath iechyd, ath drugareddau? os ydynt yn dyfod o ffynnon arall, mynega i ni o ba le? Onid ar Dduw yr wyti yn gweddio am fywyd ac iechyd? A lefesi di ddywedyd wrtho ef, *Ni byddafi rhwymedic i ti am fywyd a thrugareddau undydd ychwaneg? Os felly mae*, di-dduw dall wyt. Eithr os wyt ti yn tybied fod Duw yn gofalu am dy gorph, a elli di dybiaid nad yw ef yn gofalu ychwaneg am dy enaid? Os

rhaid

rhaid iddo ef gymmeryd gofal am dy ddiwallu di â thrugareddau, yn ddiammau se a edrych am i ti ei garu ef, a byw iddo ef yr hwn ai rhoddodd hwynt.

4. A wyt ti yn credu *mai Duw yw llywodraethwr y bŷd, ai peidio?* Onid yw, yna nid oes un rheolaeth gyfiawn. Canys megis nas gall Ustus o heddwch gael awdurdod onid oddiwrth y penllywydd, felly nis gall un penllywydd gael awdurdod onid oddiwrth Dduw, na bod yn rheolwr cyfreithlon ond tano ef. ac yna yr holl fyd a droid yn gymmyscedd annhrefnus. eithr os rhaid i ti gyfaddeu mai Duw yw llywodraethwr y bŷd, pa annoeth, anghyfiawn lywodraethwr a fynnit ti wneuthur o hono ef, os tybi nad oes ofal gantho am galonnau a ffyrdd y rhai y mae ef yn eu llywodraethu? nid yw hyn fyth ond gwadu ei fod ef yn Dduw.

5. Onid yw Duw yn gofalu cymmaint am yr hyn sydd yn ein calonnau ni, a pha beth yr ydym ni yn ei wneuthur, *Pa ham ynteu y gwnae ef gyfreithiau i'n calonnau, a'n geiriau, a'n ffyrdd ni?* a orchymynnai ef i ni yr hyn nid oes gantho ofal am dano? a fyddei iddo ef mor ddwys warafun i ni bechu, pettai'n ddifatter gantho pa un a wnelem ni ai pechu, ai peidio? A addawai ef fywyd tragwyddol ir sanctaidd a'r vfydd, onid oes ofal gantho pa vn a wnelom ai bod yn sanctaidd ac yn vfydd ai peidio? A fygythiai ef

Uffern

Uffern i bawb a'r sydd annuwiol, onid oes ofal gantho pa un a wnaem ai bod yn dduwiol ai peidio? A lefesi di ddywedyd, fod yn gorfod ar yr Hollalluog, Sanctaidd Dduw reoli y bŷd trwy gelwydd, a thwyllo dynion i vfyddhau? Je mae hyd yn oed cyfraith natur yn cynwys ynddi nid yn unig Orchymmynion am ein dled-swyddau, onid gobaith ac ofn y bywyd i ddyfod, heb yr hyn ni lywodraethid mor bŷd. Ac yn ddiammeu nad dichellion ydynt trwy ba rai y mae Anfeidrol Ddoethineb, a *Gallu, a Daioni yn llywodraethu 'r bŷd.*

6. Onid yw Dvw yn gwneuthur mawr gyfrif o'n calonnau a'n bucheddau, *pa ham y mae ef yn gwneuthur ir holl fyd fod yn weision inni?* Ydyw efe yn rhoddi i ni haul, a lloer, a sêr, y ddaiar a'r holl greaduriaid i weini i ni ac i'n gwasanaethu â'u heiniocs ac â'u rhinweddau, ac er hyn onid oes ofal gantho am ein calonnau a'n gwasanaeth ni? Mae hyn cyn ynfytted a dywedyd wneuthur o hono ef y bŷd yn ofer, ac nad oes fatter gantho am dano ef yr awrhon wedi iddo ei wneuthur ef.

7. Oni bai fod gantho ef fatter am sut ein calonnau a'n bucheddau ni anfonnasai *moi Fâb i'n prynnu ni ac* i'n glanhau oddiwrth ein holl anwiredd, ac i'n sancteiddio ni *yn bobl briodol iddo ei hun. Tit.* 2. 14. Diau fod y pridwerth a dâlwyd tros bechaduriaid, a rhyfeddol arfaeth Duw yn ein prynnedigaeth ni,

ni, yn dangos nad yw ef yn gwneuthur cyfri bychan o bechod, ai fod ef yn caru sancteidd-rwydd yn rhyfeddol.

8. Oni bai fod gantho ef fatter am ein calonnau ni a'n bucheddau, *ni wnaethai mo-ni yn swydd iw Weinidogion i'n galw ni beu-nydd i edifeirwch, a buchedd sanctaidd*, ac ni orchymynasai iddynt gymeryd y fath drafferth gyda phechaduriad iw hynnill hw-ynt i Dduw: Ni buasai efe yn trefnu ei holl ordinhadau cyhoeddus a neullltuol hefyd ir perwyl ymma. A yw Duw yn gorchymyn yr holl boen hwn am beth nid oes gantho fatter am dano?

9. *Ni chospai efe mor bŷd ag uffern yn ôl hyn, neu á chynifer o farnedigaethau ofnad-wy ymma, ac y mae miloedd yn cael teimlad o honynt*, pettai heb fatter gantho beth a fe-ddylient neu a wnelent. Mi a dybygwn y dy-lau ddynion sydd cyn fynyched yn gruddfan-nu tan ei wialen ef, fod â theimlad ynddynt, oi fod ef yn edrych am eu calonnau hwynt a'u ffyrdd.

10. *A pha wêdd y gall yr* Yspryd Glân fod yn Sancteiddydd i ni, Os yw Duw mor ddi-fatter pa un a fyddom ni ai glân ai aflân? A lefeswch chwi feddwl fod yr *Yspryd glân* yn cymeryd arno waith afraid?

11. Mi a dybygwn y gellych chwi ddeall *wrth falais* y *Temptiwr*, fod Duw yn san-ctaidd, ac yn casháu anwiredd, a bod ei Air ef yn wir yr hwn sydd yn mynegi i ni am

dragwyddol gospedigaeth pechod. Yr yscrythur sydd yn mynegi i ni gwymp yr Angylion, a mynd o lawer o honynt yn Gythreiliaid trwy eu pechod, a'u bod yn ystrywgar elynion i iechydwriaeth dŷn. Ac onid ydych chwi yn deall yn hawdd mai gwir ydyw? Pa wedd oni bai hynny y digwydd iddynt fod mor haerllug yn temptio dynion, yr hyn yr ydym ni, ysywaeth, mewn teimlad o hono trwy ormod o brawf? Eithr onid yw yr eglurdeb hwn yn amlwg ddigon i argyoeddi yr Angredadwy, pa fôdd y digwydd iddynt wneuthur cynifer o fargeinion â Chonsurwyr ac â hudolion iw tynny hwynt oddiwrth Dduw ac iechydwriaeth, megis ac y gwnaethant? Pa fodd y digwydd iddynt hwy ymddangos mewn ymrithiadau dychrynllyd i gynifer ac y gwnaethant, ac yn oestadol ar amcanion, a'r sydd yn dangos eu gwael ddiffaith gyflwr hwynt, a'u gelyniaeth yn erbyn Duw a dyn, ai taer-fryd i osod ac i gadw dynion mewn ffordd o bechod? Os bydd anghredadyn na chredo fod *Swyn-gyfareddwyr, ac Ymrithiadau yn ddios*, ac yn ddylynawl fod Cythreiliaid y rhai ydynt ysprydion annedwydd ac ystrywgar, y rhai trwy bechod a fwriwyd allan o ffafr Duw, ac a fynnent dynnu dynion iw cyflwr gofidus hwynt, deuant ac ymresymmant â myfi ynghylch y peth, ac mi a adroddaf iddynt yn ebrwydd cynifer o ecsamplau siccr diymwad, ac a roddaf iddynt gymmaint o brawf

am

am wirionedd y peth, ac nas gadawo ddim iddynt iw ddywedyd yn ei erbyn, oddieithr iddynt fyth ddywedyd, [*Ni fynnwn ni mor credu.*] ie cymmaint ac na byddafi rhwymedig i'r didduw a'r Anghredadyn dihiraf er coelio 'r peth, os efe ni lwyr ymwrthod â'i reswm, ac a rydd gennad i hwnnw i ganfod y goleuni.

12. Yn ddiweddaf, os ydych chwi yn tybied fod Duw (Pen llywydd y bŷd, yr hwn sydd bresennol ymhob man, ac yn cynnal y cwbl) yn gofalu cyn lleied pa fath fyddo dynion, neu pa beth y wnelont, pa vn ydynt ai sanctaidd ai ansanctaidd, ai vfydd ai anûfydd iw gyfreithiau ef, yna mi a dybygwn mai bychan fyddei eich gofal chwi eich hunain, ac eraill o'ch cyd-greaduriaid. Dau Gwestiwn gan hynny a osodafi gar eich bronnau. 1. Onid oes fatter gennych beth a ddywedo dynion am danoch, neu a wnelont i chwi? A ydyw yn fodlon gennych chwi fod dynion yn eich difenwi, a'ch amherchi, neu yn gosod eich tai a'ch trefi ar dân, neu yn destrywio eich anifeiliaid, eich gwragedd, a'ch plant, ac yn eich carcharu, a'ch archolli, neu yn eich lladd chwi'ch hunain? Os gwnewch chwi ddefnydd mawr o'r hyn a ddywedo neu a wnelo dynion i'ch erbyn, a ellwch chwi fod cyn ynfytted (canys nid yw'r peth ddim amgen) a thybied na byddei fawr waeth gan yr Hollalluog sanctaidd Dduw, pa beth a ddywedir neu a wneir yn ei erbyn ef ei hun, ac yn er-

byn ei weiſion, a hynny gan y ſath bryſedos gwirionffol ac yw dynion, y rhai ydynt ei waith ef? Oni bai ddarfod ir *hunan* eich dallu a'ch gwneuthur yn dueddol, chwi a welych fod vn pechod yn erbyn Duw, yn haeddu mwy coſpedigaeth ddengmiliwn o weithiau nac y mae cymmaint a hynny yn erbyn y ſath bethau gwirionffol ac ydych chwi. A ydych chwi yn gwneuthur rhagoriaeth yn y byd rhwng gwâs drwg ac un da, rhwng plentyn vfydd ac anufydd? rhwng mâb a roddai ei einioes droſoch, a mâb ar ſy'n hiraethu am eich marwolaeth fel y gallo gael eich tiroedd? Rhwng cyfaill ffyddlon a gelyn glâs? onid ydych, nid ydych ddynion, ond rhyw beth arall yn rhîth dynion. Os ydych; yna yr ydych yn beth gwaeth na dynion, oni ſynnech chwi etto ir bendigedig Dduw wneuthur dim rhagor rhwng y rhai ſy'n ei garu ef uwchlaw yr holl fŷd, a'r rhai ſydd heb wneuthur cyfrif o hono ef, rhwng yr enaid ſanctaidd a'r anſanctaidd.

Ac 2. mi a chwenychwn ofyn i chwi, a ſynnech chwi na ofalai Rheolwyr y bŷd beth a ddywedo neu a wnelo dynion, ai nis mynnech? onis mynnech, yna chwi a ſynnech fod yr holl fŷd gwedi ei droi yn rhydd, ac a ſynnech i bob dŷn a'r ſydd dlottach na chwi gael cennad ich yſpeilio; ac i bawb a'r ſydd yn eich caſſau gael cennad ich pwyo, neu ich llâdd; ac i bawb a'r ſydd yn chwennych eich tŷ, neu'ch tîroedd, neu'ch da, neu'ch anifeiliaid,

liaid gael cennad iw dwyn hwynt oddiarnoch: ac i bob dyn dreiſo eich gwragedd, neu'ch merched a'r ſydd a'i fryd ar hynny? Ac yna ni a gaem weled i ba le y mae *Anghrediniaeth yn arwain dynion.* Eithr onid ych fodlon i hyn, yna yr ydych yn llwyr-anrheſymmol, os mynnech chwi i ſwyddogion fod yn ofalus am orchwylion dynion, ac ni fynnech i Dduw; Os rhaid i Swyddogion grogi dynion am wneuthur cam â chwi, ac nid rhaid ir Tragwyddol *Fowredd* eu coſpi hwynt am wneuthur cam ag ef a thorri ei gyfreithiau, yr hyn ſydd mewn môdd anfeidrol yn beth mwy. Fel pes mynech chwi i Gwnſtabl goſpi dynion, ac na byddei ir brenin neu ir barnwr gymeryd arnynt? Canys y mae Brenhinoedd tan Dduw, megis ac y mae Cwnſtabliaid tan frenhinoedd, a'r filfed ran îs.

Y gwir yw, mae dynion annuwiol gwedi ſyrthio cyn belled oddiwrth Dduw iddynt eu hunain, hyd onid ydynt megis Duwiau iddynt eu hunain yn eu tŷb eu hunain, ac heb eu llaw eu hunain nid adwaenant un Duw: Ac am hynny pa gam bynnag a wneir yn eu herbyn, neu pa ddaioni bynnag a wneir iddynt, hwy a fynnent edrych atto: eithr y cam a'r anûfydd-dod ſydd yn erbyn Duw, ni fynnent wneuthur dim o hono. Ac y mae ganthynt y fath gyfyng gableddus feddyliau am Dduw, megis pettai ef creadur terfynol tebyg iddynt hwy, nad all fod ond mewn ûn man ar unwaith; hynny a bair iddynt

ddynt gablu ei raglunieth ef, a thybied nad yw ef yn cofio da na drwg, ac nas gwnaiff na gobrwyo'r duwiol, na chofpi 'r annuwiol; Onid ei fod megis *Eulunod y Cenhedloedd, y rhai y mae llygaid ganthynt ac ni welant, clustiau ac ni chlywant*, a dwylaw heb allu i gyflowni. Eithr pan agorer *Llyfr coffadwriaeth Duw, yr hwn a scrifennwyd ir rhai sydd yn ofni 'r Arglwydd, ac sydd yn meddwl am ei enw ef*, a phan ddywedo yr Arglwydd am danynt, *Eiddofi yw y rhai hyn, pan wnelo ef briodoledd, ai harbed hwynt, fel yr arbed gŵr ei fâb sydd yn ei wasaneuthu; yna y dychwel yr Anffyddloniaid hyn iw côf, ac y dychwel* y Cyfiawn oddiwrth eu hofnau a'u dioddefiadau, *ac y gwelant ragor rhwng y rhai sydd yn gwasanaethu Duw, a'r rhai nid ydynt yn ei wasanaethu ef.* Mal. 3. 16. 17. 18.

Gwrth-ddadl arall yr wyfi yn ei gael yn sathredig y'ngeneuau 'r annuwiol, yn enwedig yn ddiweddar o flynyddoedd: *Nis gallwn ni* (meddant) *wneuthur dim heb Dduw, nis gallwn ni gael grâs, oni ddyru Duw ef inni: ac os dyru ef, ni a drown yn gyflym: Oni rag-ordeiniodd ef ni, ac oni thrŷ ef ni, pa fodd y gallwn ni ein troi ein hunain, na bod yn gadwedig? nid o'r hwn sydd yn ewyllyssio, nac o'r hwn sydd yn rhedeg chwaith y mae.* Ac fel hyn y tybiant eu bod yn escusodol.

Mi a attebais i hwn gynt, ac yn y llyfr hwn; Eithr gedwch i mi ddywedyd hyn i chwi. 1. Er nas gellwch moch iachau eich hunain

nain, chwi a ellwch eich anafu a'ch gwenwyno eich hunain. Duw sydd raid iddo sancteiddio eich calonnau; eithr pwy ai llygrodd hwynt? A gymerwch chwi wenwyn yn eich gwylltnaws, oblegyd na fedrwch mo'ch iachâu eich hunain? yn syn hŷb i chwi a ddylech ymattal rhagddo yn fwy. Chwi a ddyláech gym'ryd mwy gofal rhag pechu, oni fedrwch chwi ddiwygio yr hyn y mae'r pechod yn ei ddiwyno. 2. Er nas galloch chwi ddychwelyd heb yspysol râs Duw, etto rhaid i chwi wybod fod Duw yn rhoddi y grâs hwn yn yr ymarfer oi foddion sanctaidd, a ordeiniodd ef ir diben hwnnw; Ac fe all grâs cyffredinol eich gwneuthur chwi yn abl i ymattal rhag pechu yn anferth, (o ran y weithred oddiallan) ac i arfer y moddion hynny. A ellwch chwi yn ddinam ddywedyd eich bod yn gwneuthur cymmaint ac a ellwch ei wneuthur? Oni ellwch chwi fyned heibio i ddrws tafarn, neu gau eich safnau a dal y ddiod allan, neu ymgadw rhag y gymdeithas a'r sy'n eich caledu yn y pechod? Onid ydych chwi yn gallu myned i wrando y gair, a meddwl am yr hyn a glywsoch pan ddeloch adref, ac ystyried am eich cyflwr rhynghoch a chwi eich hunain, ac am y pethau tragwyddol? Onid ellwch chwi ddarllen llyfrau da o ddydd i ddydd, o'r lleiaf ar ddydd yr Arglwydd, ac ymgyfeilliachu ar rhai sy'n ofni 'r Arglwydd? Nis gellwch chwi ddywedyd wneuthur o honoch yr hyn a allasech

ſech. 3. Ac am hynny rhaid i chwi wybod y gellwch fforffettio grâs a chymmorth Duw trwy eich gwylltffôl bechu a'ch eſceuluſtra, er nas gellwch heb râs ddychwelyd at Dduw. Oni wnewch yr hyn a alloch, mae yn gyfiawn gyda Duw eich naccau o'r grâs hwnnw trwy yr hwn y gellych wneuthur ychwaneg. 4. Ac am Rhagordinhadau Duw, rhaid i chwi wybod nad ydynt yn gwahanu y diben a'r moddion, ond yn eu cyd-glymmu. Ni ordeiniodd Duw gadw neb ond y ſanctei-ddiedic, na damnio ond yr anſanćteiddiedig. Mae Duw mor ddinam yn rhag-ordeinio er tragwyddoldeb, beth a wnelo eich tîr ai bod y leni yn anffrwythlon ai yn ffrwythlon, ac yn vnion pa hyd y cewch fyw yn y byd, ac y rhag-ordeiniodd ef pa vn a wnewch ai bod yn gadwedig ai peidio. Ac er hyn ni ſwriech chwi y dŷn hwnnw ond cydaſel, a'r a adawai heibio aredig, a hau, ac a ddywedai, *Os rhag-ordeiniodd Duw im tir ddwyn ŷd, fe a'i dwg pa un bynnag a wnelwyfi ai aredig a hau, ai peidio. Os rhag-ordeiniodd Duw i mi fyw, mi a fyddaf byw pa un bynnag a wnelwyf ai bwytta ai peidio, eithr oni wnaeth, nid bwytta am ceidw i yn fyw.* A wyddoch chwi pa fodd i atteb y cyfryw ddŷn, ai nis gwyddoch? os gwyddoch; yna chwi a wyddoch pa fodd ich atteb eich hunain, am fod y peth o'r un ffunyd. Mae rhag-ordinhâd Duw mor llwyr-fanylaidd ynghylch eich cyrph, a'ch eneidiau. Oni wy-

ddoch

ddoch, yna profwch yn gyntaf y cyfareddion hyn ar eich cyrph, cyn i chwi anturio eu profi hwynt ar eich eneidiau: Edrychwch yn gyntaf a geidw Duw chwi yn fyw heb ymborth a dillad, ac a ddyru ef i chwi ŷd heb aredig na llafurio; ac a ddwg ef chwi i ben eich helynt, heb i chwi na theithio nac ymddyludo: ac os ffyrna gennych yn dda yn hyn, yna profwch a ddwg ef chwi ir nefoedd heb i chwi ddyfal arfer y moddion, ac eisteddwch i lawr, a dywedwch. Nis gallwn ni mon sancteiddio ein hunain.

A'r pwngc ynghylch *Ewyllys rhŷdd* yr hwn yr ydych chwi yn taro cymmaint arno, nid yw Difeinwyr yn arghytuno cymmaint yn ei gylch ac yr ydych chwi yn ei feddwl. Awstin yn gystal a Phelagius, Calvin yn gystal ac Arminius, y Dominicaniaid yn gystal a'r Meinych, ydynt ôll yn gyffredinol yn dal fod gan ddŷn Ewyllys-rhŷdd. Eithr yr Vniawngred a ddywaid fod Ewyllys-rhŷdd wedi ei lygru, ac yn dueddol i'r drwg. Epiphanius a gondemniodd Origen am ddywedyd golli o ddŷn ddelw Dduw; ac y mae yn ei wneuthur yn bwngc o Heresi. Ac etto fe ddichon un ddywedyd mewn gwirionedd golli o ddyn ddelw Dduw, ac fe ddichon un arall ddywedyd mewn gwirionedd na chollodd ef mhoni. Am fod deufath ar ddelw Duw ar ddŷn, y naill fydd Naturiol, a honno yw ein Rhefwm a'n *Rhŷdd-ewyllys ni*, a hon ni chollwyd: y llall fydd *Gyneddfol a moesol*, a hon yw ein *Sancteiddrwydd*, a

 hon

hon a gollwyd a thrwy râs a adferir. Nid oes un dyn ag ymennydd gantho yn gwadu fod gan ddŷn ewyllys a'r sydd rŷdd wrth naturiaeth. Mae ef yn rhŷdd oddiwrth drais, ac y mae yn gyneddfen hunan-dersynol: eithr nid yw ef rŷdd oddiwrth ddrwg dueddfryd. Mae ynddo ddull gwrthwynebus i Dduw a *Sancteiddrwydd*, a thueddiad at bethau bydol cnawdol. mae ef gwedi ei gaethiwo gan ogwyddiad pechadurus. Mi a dybygwn na ddylai neb a'r sydd Gristion wadu hyn: ac o'r rhai sydd mewn oedran, nis gwelafi pa fôdd y geill yr Anghredadyn ei wadu. Ysywaeth yr ydym ni yn rhwydd yn addef i chwi, nad oes gennych mor *Rhydd-ewyllys* ysprydol moesol hwn, yr hwn nid yw ond eich iawn dueddiad, a'ch greddfol ewyllysgarwch ei hunan. Pettai gennych chwi ewyllys wedi ei ryddhau oddiwrth ddrwg-dueddiadau, afraid oedd immi scrifennu y fâth lyfrau â hwn i'ch annog i fod yn ewyllysgar, mewn matter y mae'ch iechydwriaeth yn sefyll arno. Er gofid in heneidiau yr ym ni yn deall nad oes gan yr Annuwiol, gwedi ein holl bregethau a'n hannogaethau, mor *Rhydd-ewyllys ysprydol* hwn. Eithr nid yw hyn ond eich ewyllysgarwch ei hun, a'ch tuedd i fod yn anewyllysgar; ac am hynny yr eisiau o hono sydd cyn belled oddiwrth eich escusodi, a'ch bod, po mwyaf eich eisiau o hono (sef po mwyaf ystyfnig ydych yn y pechod) o hynny yn waethaf, a thostach fydd eich cospedigaeth.

A'n

A'n gwaith ni yn pregethu ac yn annog, a'ch gwaith chwithau yn gwrando ac yn ystyried, yw'r moddion pwyntiedig i ddysod o hŷd ir gallu a'r rhydd-did Moesol hwn, hynny yw, i'ch gwneuthur yn wir ewyllysgar.

Wele, ha-wyr, nid oes gennifi ond tri archiad i chwi, ac feddarfu i mi. Yn gyntaf, ar i chwi ddarllen y traethawd byrr hwn trosto yn ddifrifol: (ac os oes gennych yn eich teuluoedd y cyfryw rai ac sydd a'i eisiau arnynt, ar i chwi ei ddarllen ef iddynt trosto a throsto drachefn: Ac os aiff y rhai sy'n ofni Duw ymbell waith at eu cymydogion anwybodus, a darllen iddynt hwn neu ryw lyfr arall or testyn ymma, hwy a allent fod yn foddion i ynnill eneidiau.) Onis gallwn ni ar ein dymuniad gael gan ddynion er mwyn eu heichydwriaeth eu hunain gymeryd cyn lleied poen a darllain y cyfryw fyrr Athrawiaethau â'r rhain, maent yn ddibris o honynt eu hunain, ac fe ddersydd am danynt yn dra-chyfiawn. Yn ail, darfyddo i chwi ddarllain y llyfr hwn trosto, mi a ddymunwn ar i chwi fyned or neulltu, a myfyrio ychydig ar yr hyn a ddarllennasoch, a dŵys ystyried megis yngwydd Duw, onid yw y peth yn wir, ac onid yw yn cyffwrdd yn agos â'ch eneidiau, ac onid yw hi amser i chwi i edrych yn eich cylch? Yr wyfi hefyd yn dymuno, ar i chwi ar eich gliniau attolwg ir Arglwydd agoryd eich llygaid i ddeall y gwirionedd, a throi eich calonnau at gariad

 Duw.

Duw, ac erfynniwch gantho yr holl râs iachusawl hwnnw, a ddarfu i chwi cyhyd ei esceuluso; a deliwch wrtho o ddydd i ddydd, nes newid eich calonnau. Ac hefyd ar i chwi fyned at eich Bugeiliaid ( y rhai a osodwyd drosoch i ofalu am iechyd a diogelwch eich eneidiau, megis y gwna physygwyr am iechyd eich cyrph ) a deisyfwch arnynt eich hyfforddi pa gwrs iw gymeryd, a gwnewch hwynt yn gydnabyddus â'ch cyflwr ysprydol, fel y caffoch leffâd oddiwrth eu gyngor a'u cynnorthwy gweinidogaethol hwynt. neu onid oes gennych fugail ffyddlon gartref, gwnewch ddefnydd o ryw un arall ar angenrhaid mor fawr. Yn drydydd pan ddarfytho i chwi trwy ddarllain, ystyriaeth, gweddi, a gweinidogaethol gyngor fod unwaith yn gydnabyddus â'ch pechod ac á'ch trueni, â'ch dyledswydd ac â'ch ymwared; nac oedwch ond yn ddidaring ymwrthodwch â'ch cymdeithas, ac â'ch helyntiau pechadurus, ac ymchwelwch at *Dduw*, ac ûfyddhewch iw *Alwad* ef. fel yr ydych yn caru eich eneidiau, gwiliwch fyned rhagoch yn erbyn *Galwad* mor grôch oddiwrth *Dduw*, ac yn erbyn eich gwybodaeth a'ch cydwybodau eich hunain; rhag bod yn waeth i chwi ddydd y farn nag i *Sodom* a *Gomorrah*. Ymofynnwch â *Duw*, megis dŷn a fo yn ewyllysio gwybod y gwirionedd, ac nid bod yn dwyllwr o'i wirfod iw enaid ei hun. Chwiliwch beunydd yr scrythyrau sanctaidd, ac edrychwch

chwch yw 'r pethau hyn felly, ai nad ydynt. Profwch yn ddiduedd ol pa un ddiogelaf ymddiried ai ir nefoedd, yntau ir ddaiar, a pha un oreu ai dilyn Duw ai dyn, yr yspryd ai 'r cnawd, ai gwell byw mewn sanctciddrwydd ai yn y pechod; Ac a yw ystâd ansanćteiddiedic yn ddiogel i chwi i aros ynthi ddiwrnod yn hwy: A chwedi i chwi gael allan yr hyn sydd Oreu, ymrowch yn ebrwydd, a dewiswch heb ddim cymhelrhi ymhellach. Os byddwch chwi cywir ich eneidiau eich hunain, ac heb hoffi eich poenau tragwyddol, yr wyf yn attolwg arnoch, megis oddiwrth yr Arglwydd, gymmeryd o honoch y cyngor rhesymmol ymma. Oh pa drefi a gwledydd dedwydd, a pha genedlaeth ddewydd a allem ni gael, pe gallem ni cymmaint ag annog ein cymydogion i gytuno ar fath ddymuniad angenrheidiol! Pa ddynion llawen fyddei yr holl Weinidogion ffyddlon pe gallent hwy ond gweled eu pobl yn wir nefol a sanćtaidd! Hyn a fyddei Vndeb, Heddwch, Diogelwch, a Gogoniant ein Eglwysi ni, Happusrwydd ein cymydogion, a diddanwch ein heneidiau. Yna mor gyssurus y pregethem i chwi Ryddhâd a Thangneddyf? Ac y rhoddem y Sacramentau y rhai ydynt selau o heddwch i chwi? Ac â pha fath gariad a gorfoledd y gallem ni fyw yn eich plith? Ar eich clafwelyf, mor hyf y gallem ni ddiddanu a chysuro eich eneidiau ar eu hymadawiad? Ac ar eich claddedigaeth mor gom-

ffforddus

ffordddus y gallem ni eich gado yn y bêdd, tan obaith cyfarfod ach eneidiau yn y nefoedd, a gweled eich cyrph gwedi eu hadgyfodi ir gogoniant hwnnw. Eithr os ymmlaen etto yr eiff y rhan fwyaf o honoch mewn buchedd ddiofal, anwybodus, gnawdol, fydol, ac anfanctaidd, ac na ffynna ein holl erfyniadau a'n llafur cymmhelled ac i'ch cadw rhag eich damnio eich hunain o'ch gwirfodd, yno mae yn rhaid i ni ddilyn ein Harglwydd, yr hwn a gymer ddifyrrwch yn yr ychydig hynny y rhai-ydynt ei *dlyfau ef*, ac yn y *praidd bychan yr hwn a dderbyn y deyrnas*, pan gaffo y rhan fwyaf fedi y trueni a haeafant. Yn Natur mae pethau rhagorol yn anaml: nid oes gan y bŷd mor llawer Haul, na Lloer, nid oes ond ychydig or ddaiar yn Aur neu Arian. Nid yw Tywyfogion a Phendefigion ond rhan fechan o feibion dynion. Ac nid oes chwaith nifer mawr yn ddyfcedig, yn ddeallus neu yn ddoethion ymma yn y bŷd. Ac am hynny os wrth fod y porth yn gyfing a'r ffordd yn gûl, nad oes ond ychydig yn cael iechydwriaeth, etto fe a fyn Duw ei ogoniant a'i ddifyrrwch yn yr ychydig hynny. A phan ddelo Crist gyd â'i *Angylion nerthol, a thân fflamllyd gan roddi dial ir fawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn vfyddhau i Efengyl ein Harglwydd JefuCrist: fe fydd ei ddyfodiad ef yn ogoneddus yn ei Sainct, ac yn rhyfeddol yn yr rhai oll fy'n gwir gredu.* 2 Thef. 1. 7, 8, 9, 10.

Ac am y lleill, megis ac y bû wiw gan

Dduw

Dduw 'r Tâd eu creu hwynt,ac na bu ddiystr gan Dduw 'r mâb ddwyn côsp eu pechodau hwynt ar y groes, ac na farnodd y cyfryw ddioddefaint yn ofer, er iddo wybod y byddei iddynt hwy trwy wrthod Sancteiddiad yr yspryd Glân eu llwyr ddinistrio eu hunain; felly ninnau y sawl ydym ei weinidogion ef, er na chasgler y rhai hyn, nid ydym yn barnu mo'n llafur yn hollawl yn ofer, edrychwch *Esa.* 49. 5.

Ddarlennydd fe a ddarfu i mi â thi (pan ddarfyddo i ti ddarllain y Lyfr ymma trosto) ond ni ddarfu ir pechod a thi etto (sef y rhai y tybiaist di eu bôd gwedi eu hanghofio er ys talm) ac ni ddarfu i Satan â thi (er ei fod ef yn awr allan o olwg) ac ni ddarfu i Dduw â thi etto, oblegyd na fynni di moth annog i beidio ath bechod marwol sy'n teyrnasu ynot. Myfi a scrifennais i ti yr Annogaeth hon, megis vn yn myned i fŷd arall, lle mae 'r pethau yr wyfi ymma yn eu hadrodd iw gweled, ac megis vn a ŵyr fod yn rhaid i tithau fod yno cyn pen nemmawr dy hunan. Fal y mynnit ti fyth gyfarfod â mi mewn diddanwch gar bron yr Arglwydd a'n gwnaeth, fal y mynnit ti fyth ochelyd y Plâau didrangc a baratowyd i lwyr-esceulusfwyr iechydwriaeth, ac i bawb oll a'r na sancteiddiwyd gan yr *Yspryd-Glân*, ac nad ydynt yn caru *Cymmûndeb y Sainct* megis aelodau yr *Eglwys lân Gatholic*: ac fal yr wyti fyth yn gobeithio cael gweled wyneb

Crist

Crist dy farnwr, a Mawrhydi y Tâd mewn heddwch a gorfoledd, a chael dy dderbyn i ogoniant pan droer di yn noeth allan or bŷd hwn, yr wyfi yn attolwg i ti, yr wyfi yn gorchymmyn i ti, wrando ac vfyddhau i *Alwad Duw, a dychwelyd yn llwyrfrŷd, fel y gallech fyw.* Eithr oni wnei, a hynny pan nad oes gennyt un gwir rhefwm trosot, ond o herwydd na fynni: Yr wyfi yn dy ddyfyn i atteb am hynny gar bron yr Arglwydd, ac yn gofyn gennyt ar i ti ddwyn tystiolaeth immi, ddarfod im dy rybuddio; ac nath *Gondemniwyd* o eisiau *Galwad i Ddychwelyd a Byw*, ond oblegyd na *Chredit mono ac nad vfyddheit iddo*: felly hefyd y bydd rhaid bod tystiolaeth

*Rhagfyrr.* 11.
1657.

Dy ddifrifol Rybuddiwr

*Rich. Baxter.*

Gal-



# Galwad
## IR
# Annychweledic.

---

Ezec. 33. 11.

*Dywed wrthynt, fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, nid ymhoffaf ym marwolaeth yr annuwiol, onid troi or annuwiol oddiwrth ei fford d, a byw: Dychwelwch, Dychwelwch oddi wrth eich ffyrdd ddrygionus, Canys (tŷ Israel) pa ham y byddwch feirw?*

FE fu 'n synn ryfeddod gan lawer dyn cystal â chennif innau, ddarllain yn yr scrythyr lân, leied a fydd cadwedig: ac y bydd y rhan fwyaf, ie or rhai a Alwyd wedi ei cau yn dragwyddol allan o deyrnas nêf, ac y penydir hwynt gyda'r Cythreuliaid mewn tân tragwyddol. Yr anghredadwy ni chredant hyn pan ei darllenont, ac am hynny rhaid iddynt ei deimlo. Y rhai ai cre-

ai credant a annogir i lefain allan gyda *Phaul*, *Rhuf.* 11. 33. *O ddyfnder golud Doethineb a gwybodaeth Duw: mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!* Ond mae naturiaeth ei hun yn dyfcu i ni roddi bai gweithredoedd drwg ar y gweithredwyr, ac am hynny pan ganfyddom ddim echryflon gwedi ei wneuthur, mae cyneddfen o gyfiownder yn ein hannog i ymofyn am y fawl ai gwnaeth, fel y bo i ddrwg y weithred ddychwelyd y drwg o wradwydd ar yr Awdur. Pe gwelem ŵr gwedi ei ladd a'i ddryllio ar y ffordd, ni a ymofynnem yn y man, *O pwy a wnaeth y weithred greulon ymma*? Pettau drêf trwy wyllt-naws gwedi ei rhoi ar dân, chwi a ofynnech, *Pa ddiffeithwr brwnt a wnaeth hyn*? Felly pan ddarllennom ni y bydd y rhan fwyaf yn bentewynion uffern yn dragywydd, mae yn anghenrhaid i ni fynnied rhyngom â ni ein hunain, pa fôdd y digwydd i hyn fôd? Ac oblegyd pwy y mae? Pwy fydd mor greulon a bôd yn achos o'r cyfryw beth a hwn? Ac ni chawn ni gyfarfod ond ychydig a gymmeront yr euogrwydd arnynt. Pawb yn ddiau a addefant mai *Satan* yw 'r achos: Ond nid yw hynny yn dattod yr ammheuaeth, Canys nid efe yw 'r prif-achos. Nid yw efe yn cymell dynion i'r pechod, ond eu temtio iddo, ai gadael iw hewyllys eu hunain beth a wnelont ai ei wneuthur ai peidio. Nid yw ef yn llufgo dynion ir dafarn, ac o drais yn agor eu faf-
nau,

nau, ac yn tywallt y ddiod i fewn; Nid yw efe chwaith yn ei dal nad allont fyned i wasanaethu Duw, nag yn dirdynnu eu calonnau oddi wrth feddyliau sanctaidd. Mae yn sefyll gàn hynny rhwng Duw ei hun a'r pechadur: rhaid yw bod vn o honynt yn brif-achos o'r holl drueni hwn, pa un bynnag yw efe: am nad oes neb arall iw fwrw ef arno. Ac mae Duw yn ymwrthod ag ef, ni fyn efe mono arno. A'r annuwiol fel y mae yn arferol a ymddiheurant oddi wrtho, ac ni chymerant mono arnynt hwy. A hon yw y ddadl a drinir ymma yn fy 'nhestyn i.

Mae'r Arglwydd yn achwyn ar y bobl; a'r bobl yn tybied mai o Dduw y mae: yr unrhyw ddadl a drinir, *Pen* 18. llê maent *Adnod* 25. yn dywedyd yn eglur, nad *cymmwys yw ffordd yr Arglwydd*, a *Duw a ddywaid*, *mai eu ffyrd hwy nid ydynt gymmwys*. Felly y dywedant ymma, *adnod y* 10. os yw ein hanwireddau a'n pechodau arnom, *a ninneu yn dihoeni ynddynt*, *pa fodd y byddem ni byw?* Megis pe dywedasent, os byddwn ni feirw a thruenus, beth a allwn ni wrtho? fel pettau heb fod oi plegyd hwy ond o Dduw; Ond mae Duw yn fy Nhestyn i yn ei glirio ei hun oddiwrtho, ac yn dywedyd iddynt pa fodd y gallant ei ddiwygio os mynnant, ac mae ef yn eu hwylio i arfer y moddion, ac oni fynnant eu cynghori mae efe yn peri iddynt wybod mai o honynt eu hunain y mae 'r peth, ac oni fodlona hyn hwynt, nid ymettyl

mettyl efe er hynny rhag ei cospi hwynt. Efe yw 'r hwn a fydd Barnwr, ac efe ai barna hwynt yn ol eu ffyrdd: nid ydynt hwy na barnwyr arno ef, nag arnynt eu hunain, o ddiffyg awdurdod, a doethineb, a dibartiaeth: Ac nid eu gwaith yn ymgeccru a chwerylu á Duw a wasanaetha eu trô, ac ai gwared oddiwrth ddihenydd cyfiawnder, yr hon y maent yn grwgnach iw herbyn.

Mae geiriau yr adnod hon yn cynnwys ynthi,

1. Waith Duw yn ymddiheuro, ac yn ei glîrio ei hun oddiwrth yr euogrwydd oi dinistr hwynt. Hyn y mae efe yn ei wneuthur nid trwy fôd heb gydnabod ai gyfraith, *Y caiff yr annuwiol farw*, na thrwy ymwrthod a gwneuthur barn a dihenydd yn ol y gyfraith honno; na thrwy roddi iddynt hwy obaith na chaiff y gyfraith ei chyflowni; Ond trwy gyhoedd-gyfaddau nad eu marwolaeth hwynt y mae ef yn ymhoffi ynthi, ond eu Trôad yn hytrach, fel y byddent byw: A hyn y mae efe yn ei gadarnhau trwy lŵ.

2. Eglur annogaeth ir annuwiol i ddychwelyd; Lle mae Duw nid yn unig yn gorchymyn, ond yn perswadio, ac yn ymostwng i ymresymmu â hwynt, paham y byddent feirw? Vnion ddiben yr Annogaeth hon yw, bod iddynt droi a byw. Yr ail a'r dirgel ddibennion, oni chyrhaeddid hon, yw y ddau hyn. Yn gyntaf, iw hargyoeddi trwy y moddion a arferodd ef, nad o Dduw y mae, os byddant

byddant hŵy grefynol. Yn ail iw hargyoeddi hwynt oddiwrth eu heglur yſtyfnigrwydd yn llyſu eu holl orchmynion ai annogaethau ef, mai o honynt eu hunain y mae, a'u bod yn meirw oblegyd hwy a fynnant feirw.

Swmm y Teſtyn ſy'n ſefyll yn yr Yſtyriaethau hyn ſy'n canlyn.

Athr. 1. *Cyfraith anghyfnewidiol Duw yw, fod yn rhaid ir annuwolion droi neu farw.*

Athr. 2. *Addewid Duw yw, cael or annuwiol fyw os hwy a droant.*

Ath. 3. *Mae Duw yn ymhoffi yn nhroedigaeth ac iechydwriaeth dynion, ac nid yn eu marwolaeth a'u damnedigaeth. Gwell oedd gantho ef droi o honynt a byw, na myned rhagddynt a marw.*

Athr. 4. *Hwn yw'r ſiccraf wir, yr hwn o herwydd na fynnai Duw i ddynion moi ammau, a gadarnhâodd ef iddynt mewn môdd difrif cyhoeddus trwy ei lŵ.*

Athr. 5. *Mae'r Arglwydd yn dyblu ei orchymynion a'i annogaethau ir annuwiol i ddychwelyd.*

Athr. 6. *Mae yr Arglwydd yn ymoſtwng i ymreſymmu â hwynt, ac yn gofyn iddynt paham y mynnent farw?*

Athr. 7. *Os yr annuwiol gwedi hyn i gyd ni ddychwelant, nid o ran Duw y derfydd am danynt, ond oi rhan eu hunain: eu hyſtyfnigrwydd eu hunain yw'r achos oi damnedigaeth,*

*gaeth; marw gan hynny y maent, oblegyd hwy a fynnant farw.*

Gwedi agoryd y Testyn gar bron eich llygaid yn yr eglur draethiadau hyn; yn y man nesaf mi a lefaraf beth am bob un o honynt mewn trefn, er hynny yn dalfyrraidd iawn.

---

Athr. 1. C*Yfraith anghyfnewidiol Duw yw, fod yn rhaid i ddynion annuwiol droi neu farw.*

OS coeliwch Dduw, coeliwch hyn: nid oes ond un or ddwy ffordd hyn i bob dŷn annuwiol, naill ai troedigaeth ai damnedigaeth. Mi a wn mai anhawdd yw peri ir annuwiol goelio na Gwirionedd nac Uniondeb hyn. Nid rhyfedd os cweryla yr Euog a'r gyfraith. Ychydig ddynion sydd barod i goelio yr hyn ni fynnent fôd yn wir: A llai a fynnent i hynny fod yn wir a'r y maent yn deall ei fôd yn eu herbyn. Ond nid ymgynhennu a'r gyfraith ac â'r barnwr yw 'r hyn a achub y drwgweithredwr. Credu 'r gyfraith a gwneuthur pris o honi a allai ei achub rhag marwolaeth: Ond ei gwadu ac achwyn arni ni wna ond ei phryfuro hi. Oni bai hynny, fe ddygai gant resymmau yn erbyn y gyfraith, am un a ddygai ei reswm atti: A dynion a ddewisent roddi eu rhesymmau paham na ddylaent gael eu cospi, yn hyttrach

hyttrach nac y gwrandawent ar eirchion a rheſymmau eu llywodraethwyr, y rhai ſy'n gofyn iddynt ûfyddhau. Ni wnaethpwyd y gyfraith i chwi iw barnu, ond fel y gallech chwi gael eich rheoli ach barnu ganthi.

Eithr os bydd neb mor ddall ac anturio cweſtiwnu naill ai Gwirionedd neu Gyfiawnder y gyfraith hon o'r eiddo Duw, mi a roddaf i chwi ar fyrr y fath eglurdeb o'r ddau, yr hwn ac a dybygwn, a ddylae fodloni dŷn rheſymmol.

Ac yn gyntaf, os ydych yn ammau a ydyw hwn yn air Duw ai nad ydyw; heb law cant o leoedd eraill, fe a ellir eich bodloni ar ychydig rai hyn. *Mat.* 18. 3. *Yn wir y dywedaf i chwi, oddieithr eich troi chwi, ach gwneuthur fel plant bychain, nid ewch chwi ddim i mewn i deyrnas nefoedd,* Jo. 3. 3. *Yn wir, yn wir, meddaf i ti oddieithr geni dŷn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw.* 2 Cor. 5. 17. *Os oes neb yn Ghriſt, y mae efe yn greadur newydd. Yr hên bethau a aethant heibio; wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd.* Col. 3. 9, 10. *Darfu i chwi ddioſc yr hên ddŷn, ynghyd ai weithredoedd, a gwiſco'r newydd, yr hwn a adnewyddir mewn gwybodaeth, yn ôl delw yr hwn ai creawdd ef.* Heb. 12. 14. *Heb ſancteiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd.* Rhuf. 8. 8, 9. *A'r rhai ſydd yn y cnawd, ni allant ryngu bôdd Duw, ac od oes neb heb yſpryd Chriſt ganddo, nid yw hwnnw yn eiddo ef.* Gal. 6. 15. *Canys yn*

*Ghriſt*

*Ghrist Jesu ni ddichon Enwaediad ddim, na dienwaediad, ond creadur newydd.* 1 Pet. 1. 3. *Yn ôl ei fawr drugaredd yr adgenhedlodd ef ni i obaith bywiol. Adnod* 23. *wedi eich aileni nid o hâd llygredig, eithr anllygredig, trwy air Duw, yr hwn sydd yn byw, ac yn parhau yn dragywydd.* 1 Pet. 2. 1. 2. *Wedi rhoi heibio gan hynny bob drygioni, a phob twyll, a rhagrith, a chenfigen, a phob gogan air, fel rhai bychain newydd eni, chwennychwch ddidwyll laeth y gair, fel y cynnyddoch trwyddo ef.* Psal. 9. 17. *Y rhai drygionus a ymchwelant i vffern: a'r holl genhedloedd a anghofiant Dduw.* Psal. 11. 5. *Yr Arglwydd a brawf y cyfiawn: eithr càs gan ei enaid ef y drygionus.*

Megis nad rhaid i mi aros i agoryd y lleoedd hyn, y rhai ydynt mor eglur, felly yr wyfi yn tybied nad rhaid im chwanegi dim mwy o'r lliaws hynny sydd yn adrodd y cyffelyb; os wyt ti ddŷn a'r sy'n credu gair Duw, dymma yn barod ddigon ith fodloni di, fod yn rhaid ir annuwiol ddychwelyd neu gael eu condemnio. Yr ydych chwi yn barod wedi eich dwyn cym mhelled a bod yn rhaid i chwi naill ai cyfaddau fod hyn yn wir, neu ddywedyd yn eglur, na chredwch chwi mo air Duw. Ac os deuwch chwi vnwaith ir pennod hwnnw, nid oes ond ychydig obaith o honoch: Edrychwch arnoch eich hunain oreu y galloch; canys nid yw debygol y byddwch allan o vffern chwaith yn hir. Chwi

a fyddech

a ſyddech parod i ruthro yn wyneb y ſawl a roddei i chwi gelwydd: Ac er hynny a feiddiwch chwi roddi 'r celwydd i Dduw? Eithr os dywedwch wrth Dduw yn ddiymwad, na chredwch chwi mono, na fwriwch arno ef mor bai, oni ddyru efe i chwi rybydd byth ond hynny, neu os gwrthyd efe chwi, ach rhoddi i ſynu megis yn ddi-obaith. Canys i ba beth ich rhybyddiai oni chredwch ef? Pes anfonai Angel or nefoedd attoch, mae 'n gyfflybol na chredech. Am nad eill Angel lefaru ond gair Duw: A phe dygai Angel i chwi Efengyl arall, ni ddylaech moi derbyn, ond ei gymeryd yn Anathema. *Gal.* 1. 8. 9. A diau na ddylid credu un Angel o flaen Mâb Duw, yr hwn a ddaeth oddiwrth y Tâd i ddwyn i ni yr athrawiaeth hon. Oni ddylid ei gredu ef, ni ddylid credu 'r holl Angylion yn y nefoedd. Ac os ſefwch chwi â Duw ar y termau hyn, myfi a'ch gadawaf, nes iddo efe eich trin mewn ffordd fwy dwyſ-ddadl. Mae gan Dduw lais ai bair i chwi glywed. Er iddo ymymbil ar i chwi wrando llais ei Efengyl, efe a wnaiff i chwi glywed llais ei farn ef yn eich condemnio yn ddiymbil. Ni allwn ni beri i chwi gredu yn erbyn eich ewyllys; ond fe bair Duw i chwi Deimlo o'ch anſôdd.

Moeſwch glywed pa reſwm ſydd gennych, pa ham na chredwch y gair hwn o eiddo Duw, yr hwn ſydd yn dywedyd i ni, mai rhaid ir annuwiol droi neu gael eu condemnio;

mi a wn eich rhefwn; mai o herwydd eich bod yn barnu fod yn anhebygol i Dduw fod mor annrhugarog: tybied yr ydych mai creulonder yw damnio dynion yn dragywydd am beth cyn lleied a buchedd bechadurus. A hyn fydd yn ein harwain at yr ail beth, yr hyn yw cyfiawnhau Vniawnder Duw yn ei ddedfau a'i farnau.

Ac yn gyntaf, yr wyfi yn tybied na wedwch nad yw yn ddigon cyfaddas i enaid anfarwol, gael ei reoli trwy gyfreithiau a fo yn addaw gwobr anfarwol, ac yn bygwth cofpedigaeth annherfynnol. Oni bai hynny ni byddei y gyfraith gyfaddas i naturiaeth dŷn, yr hwn ni chyflawn reolir trwy foddion dim îs na gobaith neu arfwyd pethau tragwyddol. Fel y mae yn achos cofpedigaeth amferol; pettau gyfraith yr awrhon gwedi ei gwneuthur y cae 'r beiau echryflonaf eu cofpi â chanmlhynedd o gaethiwed, fe allai hyn fod o beth grym gan ei fod yn o gyhyd a'n heinioes ni. Eithr ped na buafai un gofpedigaeth amgenach cyn y diluw, pan oedd dynion yn byw wythgant, neu naw cant o flynyddoedd, ni buafai hi digonol, canys gwybafai ddynion y gallent gael cynifer cant o flynyddoedd yn ddi-gôfp ar ol hynny. Felly y mae yn ein hachos prefennol ni.

2. Yr wyf yn tybied yr addefwch nad yw yr Addewid o ddidrangc a diamgyffred ogoniant anghyfaddafol i ddoethineb Duw, na chyflwr dŷn: A phaham yntau na byddech

or

br unrhyw dŷb am fygythiad o ddidrangc ac anraethadwy drueni?

3. Pan gaffoch chwi yngair Duw, mai felly y mae, ac felly y bydd, a ydych chwi yn tybied eich hunain yn addas i dywedyd yn erbyn y Gair hwn? A elwch chwi eich Gwneuthurwr at y Barr, a holi ei air ef ar gyhuddiad o ffalster? A eisteddwch chwi arno ai farnu wrth ddeddf eich dychmygion? A ydych chwi yn ddoethach, ac yn well, ac yn gyfiownach nag efe? Ai rhaid i Dduw 'r nefoedd ddyfod ir yscôl attoch chwi i ddyscu Doethineb? Ai rhaid i anfeidrol ddoethineb ddyscu gan ffolineb? Ac i anfeidrol ddaioni gael ei ddywygio gan bechadur bowlyd, na fettro moi gadw ei hun un awr yn lân? Ai rhaid ir Hollalluog sefyll wrth frawdle pryf? Oh ryfyg aruthrol llŵch dibwyll! A gyhudda pob gwadd, a thywarchen, a thommen yr haul o dywyllwch, a chymeryd arno lewyrchu 'r bŷd? Pa le yr oeddych chwi pan wnaeth yr Holl-alluog y cyfreithiau hyn, na alwasai efe arnoch chwi i fod o'i gyngor? Diammeu wneuthur o hono ef hwynt cyn eich geni, heb chwennych mo'ch cyngor: a chwithau a ddeuwch yn rhyhwyr ir bŷd iw troi hwynt yn ôl. Pe gallasech wneuthur cymmaint gorchwyl, chwi a ddylasech ruthro allan och diddim, a dywedyd yn erbyn Crist pan oedd ef ar y ddaiar, neu Moses o'i flaen ef, neu waredu Adda a'i heppil bechadurus rhag y farwolaeth oedd wedi

ei bygwth, fel na buasai raid wrth Grist. A pha beth os tyn Duw ymmaith ei Ddioddef-garwch ai Gynhaliaeth, a gadel i chwi ddiferu i vffern, tra bôch yn ymgynhennu a'i air ef? A goeliwch chwi y pryd hynny fod vffern.

4. Os yw pechod y fath ddrwg a'r fy'n gofyn marwolaeth Crist yn iawn trosto, nid rhy-fedd ei fod yn haeddu trueni tragwyddawl.

5. Ac os haeddod pechod y *Cythreiliaid*, boenydiaeth annherfynol, pa ham yntau nas haeddai bechod dyn?

6. Ac yn fy nhŷb, chwi a ddylaeth ddeall, nad oes fodd i'r goreu o ddynion, llai o lawer ir annuwiol, fod yn gymmwys farnwyr ar haeddedigaeth pechod. Och yr ydym ni oll yn ddeillion ac yn bartiol! Ni ellwch chwi fyth gyflawn adnabod haeddiant pechod, nes i chwi gyflawn adnabod Drwg y pechod; ac ni ellwch chwi fyth gyflawn adnabod drwg y pechod, nes i chwi gyflawn adnabod; 1. Godidowgrwydd yr enaid yr hwn a anffurfiodd ef. 2. A godidowgrwydd y Sanctei-ddrwydd yr hwn a ddeleuodd ef. 3. Ac a-chos a godidowgrwydd y Gyfraith yr hon y mae yn ei throseddu. 4. A godidowgrwydd y Gogoniant y mae yn ei ddirmygu. 5. A Godidowgrwydd a swydd Rheswm yr hwn y mae yn ei fathru. 6. Na chwaith nes i chwi adnabod Anfeidrol Ardderchowgrwyd, Holl-alluogrwydd, a Sancteiddrwydd y Duw hwnnw yn erbyn yr hwn y gwneir ef. Pan adwaenoch chwi y rhain oll yn gyflawn, y

cewch

ewch chwi gyflawn adnabod haeddiant pechod. Am ben hyn, chwi a wyddoch fod y trofeddwr yn rhy bartiol i farnu 'r gyfraith, neu dryniaeth ei farnwr. Yr ydym ni yn barnu wrth deimlad, yr hyn fydd yn dallu ein rhefwm. Ni a welwn mewn bydol bethau cyffredinol fod y rhan fwyaf o ddynion yn tybied fod y matter fydd eiddynt eu hunain yn vniawn, a bod y cwbl yn gam a'r a wneir yn eu herbyn: A gedwch ir cyfeillion doethaf, cyfiownaf neu mwyaf diolei-diol ddwyn ar ddeall iddynt y gwrthwyneb, mae y cwbl yn ofer. Anaml yw 'r plant na thybiant fod eu tâd yn annhrugarog neu yn chwarau yn arw â hwynt, os efe ai gwialennodia. Odid o fowlyd adyn o'r diftatlaf na thybia fod yr Eglwys yn gwneuthur cam ag ef, os hwy ai fgymmunant ef: Ac odid o Leidr neu Lofrûdd a grogir, na chyhuddai ef y gyfraith a'r barnwr o greulonder, pettau hynny yn gwafaneuthu'r trô.

7. A ellwch chwi feddwl fod enaid aflan yn *gymwys ir nefoedd?* Och fi, ni fedrant garu Duw ymma, na gwneuthur iddo un gwafanaeth a'r a allo ef ei dderbyn. Maent yngwrthwyneb i Dduw, maent yn ffieiddio yr hyn y mae ef yn ei garu fwyaf, ac yn caru yr hyn y mae ef yn ei gaffau: Nid ydynt yn amgyffred yr ammherffaith gymundeb hwnnw ag ef, yr hwn y mae ei Seinctiau ef ymma yn gyfrannogion o hono. Pa fôdd gan hynny y gallant hwy fyw yn y perffaith

gariad hwnnw o'r eiddo ef, ac yn y cyflawn hyfrydwch a'r cymmundeb ag ef, yr hyn yw gwynfyd nêf? Nid achwynwch arnoch eich hunain am annhrugarogrwydd, os byddwch heb wneuthur eich gelyn yn gynghorwr cyfrinachol i chwi; neu heb'ddwyn eich mochyn i'ch gwelu ac ar eich bwrdd gydâ chwi; na chwaith os dygwch ei fywyd, er na phechodd erioed. Ac er hynny a feiwch chwi ar yr Arglwydd perffeithlawn, y doethaf, a'r Grasusaf Benllywydd y bŷd, os condemna ef yr annychweledig i dragwyddol drueni?

---

# *Defnydd.*

ATtolwg i chwi yn awr, bawb oll a'r ydych yn caru 'ch eneidiau, yn llê ymgynhennu â Duw, ac â'i Air, ymostwng iddo ar frŷs, ai arfer er eich daioni. Chwi oll a'r sydd etto heb droi yn y gynnulleidfa hon, cymerwch hyn am ddilys wirionedd Duw; Rhaid i chwi cyn pen nemmawr Ddychwelyd neu gael eich damnio. nid oes un ffordd arall ond *troi* neu *farw*. Pan ddywedodd Duw hyn, yr hwn ni ddichon ddywedyd celwydd wrthych, pan glywoch hyn gan wneuthurwr a barnwr y bŷd, mae'n fadws ir hwn sydd gantho glustiau wrando. Erbyn hyn chwi a ellwch weled pa beth sydd gennych i ymddiried yntho. Nid ydych ond Meirwon

a damnedic oddieithr i chwi ddychwelyd. Pe dywedwn i chwi amgenach, mi ach twyllwn â chelwydd. Pe cuddiwn hyn oddiwrthych, mi ach anrheithiwn chwi, ac a fyddwn euog och gwaed, fel y mae yr adnodau o-flaen fy nheſtyn yn fy ſiccrhau. *Adn.* 8. *Pan ddywedwyf wrth yr annuwiol, ti annuwiol gan farw a fyddi farw; oni leferi di i rybuddio yr annuwiol oi ffordd; yr annuwiol hwn a fydd marw yn ei anwiredd; ond ar dy law di y gofynnaf ei waed ef.* Chwi a welwch gan hynny, er bod hon yn Athrawiaeth arw anhyfryd, mae hi yn gyfryw ac ſydd raid i ni ei phregethu, ac i chwithau ei gwrando. Eſmwythach yw clywed ſôn am vffern, nai dioddef. Oni bai fôd eich angenreidiau yn ei ofyn, nid yſpelwem ni mo'ch cluſtiau tyner â gwirioneddau a dybir mor eirwon a llym-doſt. Ni byddei vffern cyn llawned pettau bobl ond ewyllyſgar i adnabod eu cyflwr, ac i glywed oddiwrtho, a meddwl amdano. Yr achos paham y mae cyn lleied yn ei gochelyd yw, oblegyd nad ydynt yn ymdrechu am fyned trwy borth cyfyng *Troedigaeth*, ac am drammwy ffordd gûl *Sancteiddrwydd* tra caffont amſer: Ac nid ydynt yn ymdrechu, oblegyd na ddeffroeſant i fywiol deimlad o'r perygl y maent yntho: Ac ni ddeffroeſant, oblegyd fod yn gâs ganthynt glywed oddiwrtho, a meddwl am dano: A hynny ſydd mewn rhan o herwydd ynfyd dynerwch, a hunan-ſerch cnawdol: ac mewn

rhan oherwydd nad ydynt yn credu y Gair ſydd yn ei ſygwth. Pettych chwi ond hollawl gredu y gwirionedd hwn,mi a dybygwn y dylei ei bwys ef eich annog iw gofio: ac fe ach dylynai ac ni adawai i chwi lonydd, nes i chwi ddychwelyd. Pe clywech hyn ond ûnwaith trwy leferydd Angel, *Rhaid it fod yn ddychweledic neu yn ddamnedic: Troi neu farw*: oni byddei iddo lynu yn eich meddwl, ac ymgytcam â chwi nôs a dydd, fel y cofiech ef wrth bechu, ac y cofiech ef yn eich gwaith, fel ped fae ei lais ef yn oeſtadol yn eich cluſtiau, *Trowch neu Drengwch*. Oh dedwydd ſydde eich eneidiau pe gweithiau fal hyn ynoch, ac nad anghofid byth, ac na adawai i chwi lonyddwch nes gyrru eich calonnau adref at Dduw. Eithr os bwriwch ef allan trwy angof neu anghrediniaeth, pa ſódd y dichon weithio ich troedigaeth ach iechydwriaeth? Ond cymerwch hyn gyda chwi er gofid; er gallel o honoch ei ddileu allan och meddyliau, nis gellwch moi ddileu allan o'r Bibl, ond yno fe a ſaif megis gwir ſeliedig, yr hwn a gewch chwi trwy brawf ei wybod yn dragywydd, nad oes un ffordd arall ond *Troi neu farw*.

Oh pa beth gan hynny yw'r achos na rwygir calonnau pechaduriad â'r cyfryw wirionedd pwyſ-fawr! fe dybygei ddyn bellach y dylae bob enaid a'r ni thrôdd, a'r ſydd yn clywed y geiriau hyn ſerwino hyd at y galon,

a meddwl rhyngthynt â nhw ei hunain, Hwn yw fy nghyflwr i fy hunan; ac na byddent byth lonydd nes eu cael eu hunain gwedi troi. Coeliwch hawyr ni pheru 'r swrth dymmer diofal ymma chwaith yn hîr. Troedigaeth a damnedigaeth ydynt ill dau bethau deffroûs. Ac un o honynt a bair i chwi ymwrando ag ef cyn pen nemmawr. Myfi a fedraf ddywedyd i chwi ymlaenllaw cyn wiried a phettwn yn ei ganfod am llygaid, y dwg naill ai Grâs ai uffern y pethau hyn ar fyrder at y byw, ac a wnânt i chwi ddywedyd, *Pa beth a wneuthum? Pa helynt ffôl annuwiol a gymerais?* Trahaus falch a fytrdân gyflwr pechaduriaid ni pheru ond ychydig. Hwy'n gyntaf ac y trothont neu y trengont, bydd eu breuddwyd rhyfygus ar ben, ac yno y dychwel eu pwyll a'u synwyr yn eu hôl.

---

FIthr yr wyfi yn rhagweled fod dau beth a'r sydd debyg i gledu y rhai ni throesant, ac i beri i mi golli fy holl lafur, oddieithr gallel eu tynnu hwynt oddiar y ffordd. A hynny yw cam-ddeall y ddeu-air hyn, [yr annuwiol] a Throi.] Rhai a feddyliant ynddynt eu hunain, Gwir yw, rhaid ir annuwiol droi neu farw: Ond pa beth yw hynny i mi? nid wyfi Annuwiol, er fy mod yn bechadur, fel y mae pob dŷn. Eraill a

feddyliant, *fod yn wir, fod yn rhaid i mi droi oddiwrth ein ffyrdd ddrygionus; eithr myfi a droesym er ys talm, yr wyf yn gobeithio nad yw hyn iw wneuthur yn awr.* Ac fel hyn tra bytho dynion Annuwiol yn tybied nad ydynt Annuwiol, ond eu bod gwedi troi yn barod, yr ydym ni yn colli ein llafur yn ei perswadio hwynt i droi. Am hynny cyn i mi fyned ddim ymhellach, mi a adroddaf i chwi ymma pwy a arwyddoceir wrth yr Annuwiol, a phwy yw 'r sawl sydd raid iddynt droi neu feirw; a hefyd pa beth a arwyddoceir wrth droi, a phwy yw y rhai sydd Wir droedic: a hyn a gedwais i yn bwrpasol erbyn hyn o fan, gan ddewis y drefn sydd yn gymmwys im diben.

Ac ymma mae i chwi ddal sulw, yn ystyr y testyn, fod Dŷn annuwiol a dŷn dychweledic yn bethau gwrthyneb. Nid oes un-dyn yn annuwiol a'r sydd ddychweledic, nac un-dŷn yn ddychweledic, a'r sydd annuwiol; yn gymmaint a bod dŷn annuwiol, a dŷn annychweledic, o'r un flûnyd. Ac am hynny wrth agoryd y naill ni a agorwn y ddau.

Cyn medru o honof fynegi pa beth yw *Annuwioldeb neu Droedigaeth*, rhaid i mi fyned ir gwaelodion, a chyrchu'r matter i fynu o'r dechreuad.

Rhyngodd bôdd i Greawdwr Mawr y bŷd, wneuthur tri mâth ar greaduriaid byw. *Angylion* a wnaeth ef yn ysprydion pur heb

gnawd,

gwnawd, ac am hyny fe ai gwnaeth hwynt yn unig i'r nefoedd, ac nid i breswylio ar y ddaiar. Anifeiliaid a wnaethpwyd yn gnawd heb eneidiau ansarwol, ac am hynny y gwnaethpwyd hwynt yn unig ir ddaiar ac nid ir nefoedd. Dŷn sydd o anian ganolig rhwng y ddau, megis yn gyfrannog o gnawd ac ysbryd, ac am hynny foi gwnaethpwyd ir ddaiar a'r nefoedd hefyd. Eithr megis na wnaethpwyd ei gnawd ond i fôd yn was iw ysbryd, felly ni wnaethpwyd ef ir ddaiar ond megis ei daith, neu ei ffordd ir nefoedd, ac nid fel y byddei hon ei gartref ai ddedwyddwch ef. Y cyflwr gwynfydedic y gwnaethpwyd dŷn oi blegyd, oedd i edrych ar fawrhydi gogoneddus yr Arglwydd, ac iw foliannu ef ymlhith ei Angylion sanctaidd, ac iw garu ef, ac i ymlenwi ar ei gariad ef yn dragywydd. Ac fel yr oedd hwn y diben y gwnaed dŷn oiblegyd, felly y rhoddes Duw iddo foddion a'r a oedd gymmwys iw gyrhaeddyd ef. Y moddion hyn oedynt ddau yn bennaf. Yn gyntaf cywir dueddiadd a gogwyddiad meddwl dŷn. Yn ail, vniawn drefniad ei fuchedd ai ymarweddiad ef. Am y cyntaf, Duw a gymmhwysodd dueddfryd dŷn at ei ddiben; gan roddi iddo ef y cyfryw wybodaeth o Dduw a'r a oedd gymmwys o ran ei gyflwr presennol, a chalon a'i thuedd ac ai gogwydd at Dduw mewn sanctaidd gariad. Ond er hyn ni sefydlodd ac ni chadarnhaodd ef mhono yn y cyflwr ymma, ond gan ei

wneuthur ef yn hý-rydd weithredyd, efe ai gadawodd yn nwylaw ei Rydd ewyllys ei hun. Am yr ail, Duw a wnaeth yr hyn oedd yn perthyn iddo; hynny yw, efe a roddes i ddŷn berffaith gyfraith, yn gofyn ar iddo barhau yngháriad Duw, a pherffaith vfydd-hau iddo. Trwy ddibwyll doriad y gyfraith hon, ni ddarfu i ddŷn yn unig fforffettio ei obaith o fywyd tragwyddol, ond troi hefyd ei galon oddiwrth Dduw, ac ai gofododd ar y pethau ifod cnawdol hyn: a thrwy hyn efe a ddiddymmodd y fprydol ddelw Dduw oddi-ar ei enaid. Felly y darfu i ddyn ddyfod yn fyr o ogoniantDuw, yr hwn ydoedd ei ddiben ef, a rhoddi ei hunan hefyd allan or ffordd, trwy yr hon y gallafai ef ei gyrraedd; a hyn yn gyftal o ran cyflwr ei galon a'i fuched ef. Sanctaidd ogwyddiad a ferch ei enaid ef tuag at Dduw a gollodd ef, ac yn ei lê efe a gafodd ogwyddiad a ferch i ryngu bôdd ei gnawd neu ei hunan-gnawdol trwy bethau daiarol: gan fyned yn ddieithr i Dduw, ac yn gydnabyddus â'r creadur. Ac yftôd ei fuchedd ef a gymhwyfwyd at hyblyged a gogwyddiad ei galon ef; efe a fu fyw iw hunan gnawdol, ac nid i Dduw: efe a geifiodd y creadur er mwyn boddhâu ei gnawd, yn lle ceifio boddhâu yr Arglwydd. A'r natur neu 'r gogwyddiad llygredic hon gennym i'n genir ni oll yn awr ir bŷd: Canys *pwy a ddichon ddwyn peth glân allan o beth aflan*, Job, 14. 4. Megis y mae gan lew naturiaeth dan-

baid

baid greulon cyn iddo lyngcu; ac megis ac
y mae gan neidr naturiaeth wennwynic, cyn
iddi frathu; felly y mae gennym ninnau yn
yn ein mebyd y naturiaethau a'r gogwyddia-
dau pechadurus hynny cyn i ni feddwl na
dywedyd na gwneuthur ar fai. Ac oddi
ymma y tardda holl bechod ein bucheddau
ni; ac nid felly yn unig, ond gwedi i Dduw
ddarparu i ni ymwared, ſef yr Arglwydd
Ieſu Griſt i fod yn Iachawdwr ein heneidiau,
ac i'n dwyn yn ôl at Dduw drachefn, yr y-
dym ni wrth naturiaeth yn hoffi ein cyflwr
preſennol, ac yn ddygn gâs gennym ein
dwyn allan o hono, ac am hynny ydym we-
di ymoſod yn erbyn moddion ein hymwared.
Ac er bod ymarfer gwedi dyſcu i ni ddiolch i
Ghriſt am ei ewyllys da: etto mae hunan-
gnawdol yn ein perſwadio i wrthodd ef;
ac i ddymuno cael ein heſguſodi pan orch-
mynner inni gymeryd y Meddyginiaethau y
mae efe yn eu cynnyg, ac i'n galwer i ymadel
â'r cwbl ai ganlyn ef at Dduw a Gogo-
niant.

Attolwg i chwi ddarllein y ddalen hon
troſti etto, a dal ſulw arni; canys yn yr ychy-
dig eiriau hyn, y cewch chwi ddarlunniad
ein cyflwr naturiol; ac felly o ddŷn annuwiol.
Canys pôb dŷn a'r ſydd yn y cyflwr ymma
o anian lygredic, ſydd ddŷn annuwiol, ac yn
yſtât marwolaeth.

Wrth hyn hefyd ich paratoir i ddeall pa
beth yw bod yn Droedic. I'r hwn berwyl
rhaid

rhaid i chwi wybod ym mhellach, ddarfod i drugared Duw, yr hwn ni fynnei fôd dŷn yn golledic yn ei bechod, ddarparu ymwared, drwy beri iw Fâb gymmeryd ein hanian ni arno, a chan fod yn Dduw ac yn ddyn yn un person ddyfod yn gyfryngwr rhwng Duw a dŷn, a thrwy farw tros ein pechodau ar y Groes, ein prynu oddiwrth felltith Dduw, a gallu y Cythrael; A chwedi ein prynny ni fel hyn, y Tâd a'n traddododd iw ddwylaw ef megis yr eiddo ei hun. Ar hyn y mae'r Tâd a'r cyfryngwr yn gwneuthur cyfraith a chyfammod newyd i ddŷn; nid fel y cyntaf yr hwn ni roddes fywydd i neb ond ir llwyr-ufyddgar, ac a gondemniodd ddŷn am bob pechod; Eithr Christ a wnaeth ddeddf o râs, ac addewid o bardwn a bywyd tragwyddol i bawb a'r a ddychwelont at Dduw trwy wir edifeirwch a ffydd yn *Ghrist*. Megis Act o Ebargofiad a wneir gan dywysog i liaws o wrthryfelwyr, tan ammod iddynt roddi eu harfau i lawr, a dyfod i mewn a bod yn ddeiliaid cywir am yr amser i ddyfod.

Ond oblegyd fod yr Arglwydd yn gwybod fod calon dŷn gwedi myned cyn-ddrwg, na dderbyniant mor ymwared er hyn ei gyd, os gadewir hwynt iddynt eu hunain, am hynny fe gymerodd yr Yspryd Glân arno megis ei swydd i yspydoli yr Apostolion, a selio i fynû yr yscrythyrau trwy wyrthiau a rhyfeddodau, ac i oleuo a throi eneidiau yr etholedigion.

Chwi

Chwi a ellwch weled wrth hyn, mai megis ac y mae tri pherson yn y Drindod, y Tâd, ar Mâb, ar Yspryd Glân; felly, fod gan bod un or personau hyn eu hamryw weithrediadau, y rhai a gyfrifir iddynt mewn godidawgrwydd.

Gweithrediadau y Tâd oeddynt ein creu ni a'n rheoli megis ei greaduriaid rhesymmol wrth ddeddf natur, an barnu wrthi: Ac mewn trugaredd darparu i ni brynnwr pan oeddym golledic, ac anfon ei Fâb, a derbyn y Tâl a roddes ef.

Gweithrediadau y Mâb trosom ni oedd y rhain, rhoi jawn, a'n prynny trwy ei ddioddefiadau a'i Gyfiawnder; rhoi allan addewid neu ddeddf o Râs, a rheoli a barnu y bŷd megis ei prynnwr, ar ammodau o Râs, ac eirioli trosom, ar fod mawrlles ei farwolaeth ef yn cael ei gyfrannû; ac anfon yr Yspryd glân, yr hyn y mae 'r Tâd hefyd yn ei wneuthur trwy 'r Mâb.

Gweithrediadau yr yspryd glân yw y rhai 'n, Adrodd yr yscrythyrau sanctaidd trwy yspry doliaethu a chyfarwyddo y prophwydi ar Apostolion, a selio y Gair trwy ddonniau a gweithredoedd rhyfeddfawr, A goleuo a a chynhyrfu Gwenidogion cyffredin yr Efengyl, ac felly ei cyfnerthu ai cymmorth hwynt i ddatgan y Gair hwnnw ar osteg, a goleuo a throi eneidiau dynion drwy 'r ûnrhyw Air. Yn gymmaint nas gallasech fod yn Greaduriaid rhesymmol, oni buassai ir Tâd

eich creu ; na chael mynediad at Dduw, oni buassai ir Mâb eich prynnu ; Ac felly nis gellwch gael cyfran y'Nghrist na bod yn gadwedic, oddieithr ir yspryd glân eich sancteiddio.

Felly erbyn hyn chwi a ellwch gansod yr amryw achosion or gwaith ymma. Y Tâd yn anfon y Mâb, y Mâb yn ein prynu ni, ac yn gwneuthur addewid o Râs : yr Yspryd Glân yn adrodd ac yn selio yr Efengyl hon : Yr Apostolion ydynt yscrifennyddion yr Yspryd iw hyscrifennu hi ; Pregethwyr yr Efengyl sydd yn ei chyhoeddi, ac yn perswadio dynion i vfyddhau iddi. Ar Yspryd Glân sydd yn gwneuthur ei pregethiad hwynt yn ffrwythlon, trwy agoryd calonnaû dynion iw chroesawu. A hyn oll sydd i adferu delw Dduw ar yr enaid, ac i osod y galon ar Dduw drachefn, ai dwyn oddiwrth y creadur a'r hunan-gnawdol, at yr hwn y gwrthgiliodd ; ac felly i droi ffrwd y fuchedd i ystod nefol, yr hon o'r blaen ydoed ddaiarol ; a hyn ei gyd trwy groesawu Crist trwy ffydd, yr hwn yw physygwr yr enaid.

Wrth yr hyn a adroddais, y gellwch weled pa beth yw bôd yn Annuwiol, a pha beth yw bôd yn *Ddychweledic*. Yr hyn yn fy'nhyb a fydd etto yn eglurach iw'ch os portreiadaf hwynt fel y maent yn sefyll oi hamryw rannau. Ac am y cyntaf fe a ellir adnabod Dyn annuwiol wrth y tri pheth hyn.

*Yn gyntaf*, un yw efe yn gosod ei brif fo-

dlondeb

dlondeb ar y daiar, ac yn caru y creadur yn fwy nâ Duw, ai lwyddiant cnawdol uwchlaw 'r dedwyddwch nefol: Mae efe yn blasu pethau 'r cnawd, ond pethau 'r yspryd nid yw efe nac yn ei dirnad nac yn ei blasu: Er iddo ddywedyd fod y nefoedd yn well nâ'r ddaiar, er hynny nid yw ef mewn gwirionedd yn ei chyfrif hi felly iddo ei hun. Pe gallai ef fod yn siccr o'r ddaiar efe a adawai ir nefoedd fyned, a gwell fyddai gantho aros ymma, nai symmyd yno. Nid yw bywyd o berffaith sancteiddrwydd y-ngwydd Duw, ac yn ei gariad ai foliant ef byth yn y nefoed, yn cael y fath hoffdra yn ei galon ef, ac y mae bywyd o iechyd, a golud, a pharch ymma ar y ddaiar. Ac er iddo gau-broffesu ei fôd yn caru Duw uwchlaw 'r cwbl, etto ni chlywodd ef erioedd mewn gwirionedd oddiwrth rym dwyfol gariad oi fewn, ond mae ei feddwl ef gwedi ei osod yn fwy ar y byd, neu ddifyrrwch cnowdol, nag ar Dduw. *Mewn ún gair, pwy bynnag sy 'n caru y ddaiar uwchlaw y nefoedd, a llwyddiant cnawdol yn fwy nâ Duw, sydd ddyn annuwiol annychweledic.*

Or tu arall, mae dyn dychweledic wedi ei oleuo i ddirnad hawddgarwch Duw, a'r gogoniant sydd iw gael gyda Duw y mae efe yn ei gredu cymmhelled, a bod ei galon yn ei serchu, a chwedi ei gosod yn fwy arno, nag ar ddim yn y byd hwn. Gwell oedd gantho weled wyneb Duw, a byw yn ei dragwyddol

gariad

gariad ai foliant ef, na chael holl olud a phleser y byd hwn. Mae efe yn gweled fod pob peth arall yn ofer, ac nad eill dim ond Duw lenwi yr enaid, ac am hynny eled y byd fford y fynno, mae efe yn rhoddi ei drysor ai obaith y-nghadw yn y nefoedd, ac am hynny y mae ef yn ymroi i adael ir cwbl bassio. Megis y tân yr hwn sy 'n ymgodi i fynu, a'r Nodwydd a gyffyrdder â'r Tynnfaen yn oestadol yn troi tu ar Gogledd; felly y mae 'r enaid dychweledic ai dynniad at Dduw. Ni fodlona dim arall mhono, ac ni fedr ef gael dim bodlonedeb na gorphywysfa ond yn ei gariad ef. Mewn un gair, Mae pawb ar a ddychwelasant yn cyfrif ac yn caru Duw yn amgenach nâ'r holl fyd, ac mae dedwyddwch nefol yn anwylach ganthynt, nâ'i llwyddiant cnawdol. Chwi a ellwch gael arddel o'r hyn a ddywedais yn y lleoedd hyn o'r yscrythyr, *Phil.* 3. 18, 19, 20. *Matth.* 6. 19, 20, 21. *Col.* 3. 1, 2, 3, 4. *Rhuf.* 8. 5, 6, 7, 8, 9, 18, 23. *Psal.* 73. 25. 26.

*Yn ail*, dyn annuwiol sydd ûn yn ei wneuthur yn *brif orchwyl ei fywyd ar fod yn llwyddo yn y byd*, a dyfod o hyd iw ddibenion cnawdol; Ac er iddo ddarllain a gwrando, a gwneuthur llawer mewn dyled-swyddau Crefydd oddiallan, a gochelyd pechodau anafus, etto nid yw hyn ei gyd ond ar ddamwain: ac nid yw efe chwaith yn ei wneuthur yn gelfyddyd ac yn brif orchwyl ei fuchedd

ar

ar fod yn rhyngû bôdd Duw,a dyfod o hyd ir gogoniant tragwyddol,ond mae efe yn bwrw Duw heibio gydâ gweddillion y byd, ac heb roi iddo ddim ychwaneg o wasanaeth nag a allo y cnawd ei hepcor; canys nid ymedu efe â'r cwbl er mwyn y nefoedd.

O'r gwrthwyneb, y dyn *Dychweledic* sydd ûn yn ei wneuthur yn brif ofal a gorchwyl ei fywyd ar fod yn rhyngu bôdd Duw a bôd yn gadwedic, ac nid yw yn cyfrif holl fendithion y bywyd hwn, ond megis cymwynasau ar ei daith tua bywyd arall: A'r creadur y mae efe yn ei arfer tan Dduw: Mae efe yn caru bywyd sanctaidd, ac yn hirathu am fod yn fwy sanctaidd. Nid oes bechod gantho, nad yw yn ei gasau; ac yn hiraethu, ac yn gweddio ac ymegnio ar gael ymadel ag ef. Mae tynfa a thuedd ei fywyd ef at Dduw, ac os pecha, mae hynny yngwrthwyneb i wir ogwyddiad ei galon ai fuchedd ef, ac am hynny mae 'n cyfodi drachefn, ac yn galaru oi blegyd, ac heb lesasu byw yn ystyfnig mewn un pechod adnabyddus. Nid oes dim yn y byd mor anwyl gantho na fedr efe ei roddi ef i Dduw, ac ymadel ag ef er ei fwyn ef a gobaith gogoniant, hyn oll a ellwch chwi ei weled yn *Col.* 3. 1, 2, 3. 4. *Mat.* 6. 20, 33. *Luc.* 18, 22, 23, 29. *Luc.* 14. 18, 24, 26, 27. *Rhuf.* 8. 13. *Gal.* 5. 24. *Luc.* 12. 21, *&c.*

*Yn drydydd*, ni ddarfu i enaid y dyn annuwiol erioed wîr ddirnad a blasu dirge-

lwch

lwch prynnedigaeth, na diolchgar groesawu Iachawdwr ar yr ydys yn ei gynnyg, nid yw efe chwaith yn ymserchu ar gariad y Pryniawdwr, na bodlon iw reoli gantho megis Physygwr ei enaid, fel y gwareder ef oddiwrth euogrwydd a grym ei bechodau, ac yr adferer at Dduw. Eithr ei galon ef sydd anheimladwy o'r dawn annhraethadwy yma, ac yn hollawl yn erbyn moddion meddiginiaethol, trwy ba rai y dylasei efe gael ei adferu. Er iddo fod yn ewyllysgar i fod yn gnawdol grefyddol, er hynny nid yw efe un amser yn rhoddi ei enaid i fynû i Grist, ac i gynhyrfiadau a chyfarwyddyd ei Air ai Ysprydd ef.

O'r gwrthwyneb, yr enaid *dychweledic* gwedi cael teimlad oi fod ei hun yn golledic trwy bechod, ac yn deall iddo golli ei heddwch gyda Duw, a gobaith o'r nefoedd, ai fod mewn perygl o drueni tragwyddol, sydd yn ddiolchgar groesawu hanes prynedigaeth, ac yn credu yn yr Arglwydd Iesu megis ei unig Iachawdwr, ac yn ei roddi ei hun i fynu iddo ef am Ddoethineb, Cyfiawnder, Sancteiddiadd, a phrynedigaeth. Mae efe yn cymeryd Crist megis bywyd ei enaid, ac yn byw trwyddo ef, ac yn gwneuthur defnydd o hono megis ei eli i bob briw, gan ryfeddu oblegyd Doethineb a Chariad Duw yn y rhyfedd-waith hwn o brynedigaeth dyn. Ac i fod yn fyrr, mae Crist yn trigo yn ei galon ef trwy ffydd, a'r bywyd y mae efe yn

awr

awr yn ei fyw, fydd trwy ffydd Mâb Duw, yr hwn ai carod ef ac ai rhoddes ei hun tofto; Ie nid yw gymmaint ei fod efe yn byw, a bod Crift yntho ef; Am y pethau hyn, edrychwch *Joan.* 1. 11, 12. ac 3. 3. 19, 20. *Rhuf.* 8. 9. *Phil.* 3. 7, 8, 9, 10. *Gal.* 2. 20. *Joan.* 15. 2, 3, 4. 1 *Cor.* 1. 30. a'r 2. 2.

---

CHwi a welwch yn awr mewn ymadroddion hygoel allan o Air Duw, pa rai yw'r Annuwiol, a pha rai yw y dychweledic. Mae pobl anwybodus yn tybied oni bydd dyn na thyngwr, na rhegwr, na meddwyn, na phutteiniwr, na chribddeiliwr, nac yn gwneuthur cam a neb yn eu mafnach, as os deuant ir Eglwys a dywedyd ei paderau, nad oes fodd ir rheini fod yn ddynion annuwiol. Neu os bydd i ddyn ar a fu euog o feddwdod, neu dyngu, neu chwaryddiaeth, neu'r cyffelyb ddrwg-gampau, cymmaint ai gadael hwynt heibio am yr amfer i ddyfod, maent yn tybied fod hwn yn ddyn dychweledic. Eraill ydynt yn tybied, os gwnaiff dyn a fû elyn a gwatworwr duwioldeb, ond ei chanmol hi, ac ymgyfylltu â'r fawl fydd dduwiol, a chael ei gafau am hynny gan yr annuwiol fel y mae 'r duwiol, fod yn rhaid i hwn fod yn ddyn dychweledic. A rhai fydd cyn ynfytted a thybied eu bod gwedi dychwelyd, wrth godi i fynu ryw newyddian a gau opiniwn, a fyrthio at ryw blaid

blaid-wahanol, megis Anabaptiſtiad, Crynwyr, Papiſtiaid neu'r cyffelyb. A rhai ſydd yn tybied os byddant ond gwedi eu dychrynu gan arſwyd o uffern, a chwedi cael argyoeddion a gwewyr cydwybod, ac ar hynny ſwriadu ac addaw gwellau, a chodi i ſynu ſuchedd o ymddygiad gweddol,a chrefyddoddiallan, fod yn rhaid i hyn fod yn wir droad. A'r rhai 'n yw 'r eneidiau truain ſiommedic, ar ſydd debyg i golli bûdd ein holl annogaethau: A phan glywont fod yn rhaid ir annuwiol naill ai *Troi ai Meirw*, maent yn tybied nad wrthynt hwy y dywydir hyn, am nad ydynt hwy annuwiol ond gwedi troi yn barod: Ac am hynny y bû i Griſt ddywedyd wrth rai o lywodraethwyr yr Iddewon, ar a oeddynt fwy pwyllog a moeſgar nâ'r bobl gyffredyn, fod *Publicanod a phutteiniaid yn myned ir neſoedd oi blaen nhwy*, Mat. 21. 31. Nid oblegyd y gall puttain neu anfad bechadur fod yn gadwedic heb Droedigaeth; ond o herwydd fod yn haws peri i bechaduriaid anfad ddeall eu pechod au trueni, ac angenrheidrwydd cyfnewid pan yw rhai rhadlonach yn eu ſiommi eu hunain trwy feddwl eu bod gwedi dychwelyd yn barod, pryd nad ydynt.

Oh ha-wyr! mae Troad yn waith amgenach nag y mae nemmawr yn ei feddwl: Nid matter bychan yw dwyn meddwl daiarol ir nefoedd, a dangos i ddyn hygaraidd odidowgrwydd Duw, nes iddo ymſerchu â'r

ſath gariad arno ef, nas galler byth moi ddiffoddyd; dryllio y galon am bechod a gwneuthur iddo ffo at Griſt am noddedd, ai ddiolchgar dderbyn ef megis bywyd ei enaid; bod a gwir dynſa a thuedd ei galon ai ſuchedd ar newidio, yn gymmaint a bod dyn yn ymwrthod a'r hyn yr ydoedd efe yn ei gymeryd yn ddedwyddwch iddo, a goſod ei ddedwyddwch lle nis goſododd erioedd or blaen, ac heb fyw ir unrhyw ddiben, ac heb yrrû ymmlaen yr ûnrhyw amcan yn y byd, ac yr ydoedd efe cynt. I fod yn fyrr, *yr hwn ſydd y'Nghriſt mae efe yn greadur newydd, yr hên bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob beth yn newydd,* 2 Cor. 5. 17. Mae gantho ef ddeall-dwriaeth newydd, ac ewyllys ac ymroad newydd; triſtwch, a Dymuniadau, a chariad, a dyſyrrwch newydd; amcanion newydd, ymadroddion newydd, cwmpeini newydd (os bydd poſſibl) ac ymarweddiadd newydd. Pechod yr hwn oedd beth digrif gantho efe o'r blaen, ſydd yn awr mor gâs ac erchyll gantho, ai fod yn ffo rhagddo megis rhag angau. Y bŷd yr hwn oedd o'r blaen yn hawddgar yn ei olwg ef, ſydd yn awr yn ymddangos ond megis gwagedd a gorthrymder. Duw yr hwn or blaen a eſceuluſwyd, ſydd yn awr yn unig ddedwyddwch ei enaid ef; or blaen efe a anghofid, a phob trachwant a gyfrifid oi flaen ef, ond yn awr efe a oſodir yn neſſaf ir galon, ac y mae'n rhaid i bôb peth roddi lle
iddo

iddo ef: a'r galon ſydd gwedi ymoſod i wilied arno ef ai waſanaethu; ac yn ofidus ganthi pan gudio efe ei wyneb, ac nid yw un amſer yn tybio ei hun yn dda hebddo ef. Criſt ei hun, yr hwn yn arferol a feddylid am dano yn yſcoywan, yn awr yw ei unig obaith ai noddfa, ac arno ef y mae'n byw megis ar ei fara beunyddol, ni fedr efe na gweddio hebddo ef, na bod chwaith yn llawen hebddo ef, na meddwl, na dywedyd, na byw hebddo ef. Y nefoedd ei hun yr hon nid edrychid arni or blaen ond megis cryn-beth y 'nghadw, yr hwn yr oedd efe yn gobeithio y gallai waſanaethu 'r tro yn well yn ei herwydd nag Uffern, pan nas gallai aros ddim hwy yn y byd, a gymerir yn awr am ei gartref, mangref ei unig obaith ai orphwysfa, lle caffo efe weled, a charu, a moliannû y Duw hwnnw ar ſydd ai galon ef gantho yn barod. Uffern yr hon nid oedd or blaen yn ymddangos ond megis bwbach i ddychrynu dynion rhag pechu, ſydd yn awr yn ymddangos yn llwyr drueni, iw gwbl ochelyd, ac nid i ymgellwair ag ef. Gweithredoedd Sanćteiddrwydd yr ydoedd ef yn flin arnynt or blaen, ac yn eu gweled yn fwy ymyrreth nag a ydoedd raid, ydynt yn awr ei ddyfyrrwch ai orchwyl ef, ar gelfyddyd y mae efe yn byw arni. Y Bibl yr hwn ni chyfrifai efe o'r blaen gan mwyaf ond megis llyfr cyffredin, ſydd yn awr gantho megis Deddf Duw, *megis llythyr wedi ei ſcrifennu*

*atto*

*atto ef or nef, ac enw y Mawrhydi tragwyddol ynſcrifennedic wrtho*; Rheol ei feddyliau, ai eiriau, ai weithredoedd yw ef. Mae ei orchmynion ef yn rhwymo, ei fygythion yn ddychrynnadwy, ai addewidion yn llefaru bywyd wrth ei enaid. Y duwiol y rhai nid oeddynt yn ymddangos iddo ond fel dynion eraill, ydynt yn awr yn ei olwg ef y rhai mwyaf rhagorawl a dedwyddaf ar y ddaiar. Ar annuwiol y rhai oedd ei gyd-chwaryddion ef, ydynt yn awr yn ofid iddo, Ac yntau yr hwn a fedrai chwerthin am ben eu pechod hwynt, ſydd barottach yn awr i wylo dros ei pechod ai trueni hwynt. *Pſal.* 16. 3. ar 15. 4. *Phil.* 3. 18. I fod yn fyrr, Mae gantho ef ddiben newydd yn ei amcanion, a ffordd newydd yn ei ymgais, ac am hynny mae ei galon ai fywyd ef yn newydd. *Or blaen ei Hunan gnawdol oedd ei ddiben*; ai bleſer, ai elw bydol, ai barch oeddynt ei ffordd ef: Ac yn awr Duw, a thragwyddol ogoniant yw ei ddiben ef: a *Chriſt*, a'r Yſpryd, a'r Gair, a'r ordinhadau, Sancteiddrwydd tu ac at Dduw, a Chyfiownder a thrugared tu ac at ddyn, y rhai hyn ydynt ei ffordd ef. *Or blaen Hunan oedd y Pen-llywydd, ir hwn y gorfu i bethau Duw a* chydwybod blygu a rhoddi lle. Ac yn awr Duw yn-Ghriſt, drwy 'r Yſpryd, y Gair, a'r Weinidogaeth yw 'r Pen-llywydd, yr hwn y gorfydd ir Hunan, a holl bethau Hunan roddi lle. Nid yw hyn gan hynny gyfnewidiad mewn un peth, neu ddau, neu

ugain, ond yn yr holl enaid, a gwir ddiben, a gogwyddiad ein hymarweddiad. Fe ddichon dyn frâſgammu o'r naill lwybr ir llall, ac er hynny wynebu ar hyd yr un-ſſordd, a bod fyth yn myned ym mlaen tu ar un rhyw ſan: Eithr peth amgenach yw llwyr droi yn ôl drachefn,a chymeryd ei daith yn union yn y gwrthwyneb tua mangref o'r gwrthwyneb: felly y mae yn y man ymma; fe ddichon dyn droi oddiwrth feddwdod at gynhilder, ac ymwrthod ai gymdeithas dda,ac a phechodau anfad cwilyddus eraill, ac ymoſod ar rai dyledſwyddau Crefydd; a bod etto yn myned fyth rhagddo at yr un diben ac or blaen, gan fwriadau ei Hunan gnawdol uwchlaw pob dim, a rhoddi fyth iddo ef y llywodraeth ar ei enaid. Eithr pan ddychwelo ef, yr hunan hwn a wedir ac a dynnir i lawr, a Duw a dderchefir, ai wyneb yntau a droir yn y gwrthwyneb: A'r hwn oedd or blaen yn ymroi iddo ei hunan, ac yn byw iddo ei hun, ſydd yr awron trwy Sanɛteiddiad gwedi ei eidduno i Dduw, ac yn byw i Duw: Or blaen, efe a ymofynnai ag efe ei hunan, pa beth a wnae efe oi amſer, oi gynneddfau, ac oi gyſoeth. Ac iddo ei hun yr oedd efe yn ei harfer hwynt. Ond yn awr y mae ef yn ymofyn a Duw beth a wnaiff ef â hwynt, ac iddo ef y mae 'n ei harfer. Or blaen efe a ryngei fôdd Duw cyn belled ac y gallai ſefyll gydâ boddhâd ei gnawd, ai Hunan gnawdol, ond nid iw hanfodloni hwynt ddim yn fawr.

ond

Ond yn awr nid anfodlona efe mo Dduw, er anfodloned fytho 'r Cnawd, a'r Hunan. Dyma 'r mawr gyfnewid a wnaiff Duw ar bawb a fo cadwedic.

Chwi a fedrwch ddywedyd mai 'r Yfpryd Glân yw'ch Sancteiddyd: Ond a wyddoch chwi pa beth yw Sancteiddiad? Ai nid yr hyn a agorais i chwi yn awr? Ac y mae yn rhaid i bob mâth o ddyn yn y byd gael hwn, neu gael eu damnio i dragwyddol drueni. *Rhaid iddynt Droi neu Drengu.*

Hawyr a ydych chwi yn credu hyn oll, ai nid ydych? Diau na lefefwch chwi ddywedyd nad ydych: Canys y mae ef tros ben gwâd ac ammau. Y rhai hyn nid ydynt ymryfonau, lle mae 'r naill ŵr duwiol dyfcedic or naill feddwl, a'r llall o un arall; lle mae 'r naill blaid yn dywedyd hyn, a'r llall yn dywedyd hyn accw: Papiftiaid ac Anabaptiftiaid, a phob Sect yn ein plith ar a haeddei ei galw yn Griftianogion, ydynt oll yn cytuno yn yr hyn a ddywedais: ac oni choeliwch chwi Dduw 'r gwirionedd, a hynny mewn peth y mae pob Sect a phlaid yn ei goelio ef, yr ydych yn llwyr annefcufodol.

Eithr os ydych yn coelio hyn, pa fodd y digwydd i chwi fod cyn llonydded mewn cyflwr annychweledic? A wyddoch chwi eich bod gwedi dychwelyd? A fedrwch chwi hefyd gael y newidiad rhyfeddol hwn ar eich eneidiau? A ail anwyd chwi fal hyn a'ch gwneuthur o newydd? Onid yw y pethau

hyn yn rhyfedd gan fagad o honoch ? Ac yn gyfryw nas gwybuoch oddiwrthynt ar eich eneidiau erioed ? Oni fedrwch fynegi dydd neu wythnos eich newidiad, na'r bregeth a'ch trôdd chwi, etto a ydych chwi yn cael fod y gwaith wedi ei wneuthur ? A bôd y cyfryw gyfnewidiad mewn gwirionedd ? A bôd gennych y fath galonnau ac a dangofwyd uchod ? Y fywaeth mae y rhan fwyaf o honoch yn canlyn eu gorchwylion bydol, ac heb flino ar eu meddyliau â'r cyfryw fyfyrdodau. Ac os ymattaliant cymmaint ac oddiwrth bechodau gwradwyddus, a gallael dywedyd, *Nid wyfi na phutteiniwr, na lleidr, na rhegwr, na thyngwr, nac yfwr, na chribddeiliwr, yr wyfi yn myned ir Eglwys , ac yn dywedyd fy'ngweddiau* ; Maent yn tybied fod hyn yn wirDroedigaeth, ac y byddant cadwedig yn gyftal ac eraill. Yfywaeth eich ynfyd dwyllo eich hunain yw hyn. Mae hyn yn ormod dirmyg ar ogoniant anherfynol ; ac efceulufdra rhy anferth am eich eneidiau anfarwol. A fedrwch chwi fod mor ddibris or nefoedd ac uffern ? Eich celaneddau a orweddant ar fyrder yn y llwch, Angylion neu Gythreiliaid yn ebrwydd a gymmerant afel ar eich eneidiau, a phob mâb a merch o honoch chwi oll, a fydd ymlhith cwmpeini arall ar fyrder, ac mewn cyflwr amgenach nag yr ych yn awr yntho : Ni thrigwch chwi yn y tai yma ond ychydic hwy : Ni weithiwch chwi yn eich Sioppau ach meufydd ond ychydic hwy : Nid eifteddwch yn yr yftafelloedd yna, ac ni phrefwyliwch ar y

ddaiar hon ond ychydic hwy: Ni welwch â'r llygaid yna, ac ni chlywch â'r cluſtiau yna, ac ni leferwch â'r tafodau yna ond ychydic hwy, tan ddydd yr adgyfodiad: A fedrwch chwithau wneuthur cyflafan i anghofio hyn? O pa ryw fan y byddwch chwi yntho ar fyrder o lawenydd neu boendod! Oh pa olwg a welwch chwi ar fyrder yn y Nefoedd neu Uffern! Oh pa feddyliau a leinw eich calonnau ar fyrder, â dyfyrrwch neu erwindeb annrhaethadwy! Oh Pa waith y goſodir chwi arno ar fyrder, ſef naill ai i foliannu 'r Arglwydd gydâ Seintiau ac Angylion, neu i gregleiſio allan mewn tân anniffoddadwy gydâ Chythreiliad! Ac a ddylai hyn oll gael ei anghofio? A hyn oll a fydd anherfynol, ac a ſelir i fynu trwy ddeddf dragwyddol. Tragwyddoldeb, Tragwyddoldeb, a fydd meſur eich llawenydd neu 'ch triſtwch; A ellir anghofio hyn? Ac y mae hyn hawyr ei gyd oll yn wir; *Y ſiccraf wirionedd yw:* darfyddo i chwi fyned i fynu ac i wared ychydic hwy, darfyddo i chwi gyſcu a deffro ychydic mynychach, chwi a fyddwch meirw a chwedi paſſio, a chael y cwbl yn wir yr wyfi yn ei fynegi i chwi yr awron: Ac er hynny a fedrwch chwi yn awr ei anghofio yn gymaint? Chwi a gewch gofio y pryd hynny glywed o honoch y Bregeth hon, a bod y pethau hyn gwedi eu dwyn ar gôf i chwi heddyw oddi yma; ac a ddeellwch eu bod hwynt yn fwy matterion filoedd o weithiau nag y gal-

wni na chwithau yma moi ddirnad: Ac a gânt hwy yn awr eu hanghofio cymmaint.

Anwyl garedigion! Oni Buasei ir Arglwydd fy neffroi, i gredu ac i osod y pethau hyn fy hun at fy 'nghalon, mi a fuaswn yn aros yn y *tywyll a'r Hunan gyflwr*; ac fe ddarfuasei am danaf yn dragywydd: Ond os gwnaeth efe fi yn deimladwy o honynt mewn gwirionedd, fe am hannogir i dostturio wrthych chwi, yn gystal ac wrthif fy hunan. Pettau eich llygaid mor llydan agored ac y gwelych Uffern, a chanfod o honoch eich cymydogion ar a oeddynt Annychweledic wedi eu llysco yno trwy fonllefain hyll, er iddynt fod yn gyfryw ac a gyfrifech yn bobl onest ar y ddaiar, ac heb ofni dim or fath beth iddynt eu hunain; Y cyfryw olwg a barai i chwi fyned adref a meddwl am dano, a meddwl drachefn; ac a barai i chwi rybuddio pawb o'ch amgylch, fel y Bydol ddyn damnedic yn *Luc*. 16. 28. yr hwn a fynnasai rybuddio ei frodyr, rhag eu dyfod ir lle poenus hwnnw. Paham, mae ffydd yn fath ar olwg; llygad yr enaid yw hi: ficcrwydd y pethau ni welir: os credafi yn Nuw, nesaf yw at weled: Ac am hynny yr wyfi yn attolwg ar i chwi fy escusodi, os wyfi hanner cyn daered arnoch ynghylch y pethau hyn, a phed fawn yn eu gweled. Os gorfydd arnaf farw y foru, a gallu o honof ddyfod drachefn o fŷd a-

rall,

rall, a mynegi i chwi yr hyn a welswn, oni byddych chwi ewyllysgar im gwrando, ac oni credech chwi, a gwneuthur cyfrif o'r hyn a fynegwn i wrthych? Pe gallwn i bregethu un bregeth i chwi yn ôl fy marw, a gweled yr hyn a wneir yn y byd a ddaw, oni fynnech i mi ddywedyd y pûr wirionedd, ac onid ymdyrrech chwi im gwrando? Oni osodech chwi hynny at eich calon? Ond ni ddichon hyn mor bôd: Mae gan Dduw ei ffordd bwyntiedic i'ch dyscu chwi trwy r'scrythyrau a Gweinidogion; Ac ni chedwiff efe swmpwy ir anghredadwy cym mhelled ac i anfon attynt ddynion oddiwrth y meirw, a chyfnewid ei ffordd a siccrhaodd ef: Os cweryla neb â'r haul, ni cheidw Dduw swmpwy iddynt cym mhelled, a gosod i fynu loywach oleuni. Garedigion, attolwg iwch roddi coel arnafi yn awr, fel y gwnaech pettawn i yn dyfod attoch oddiwrth y meirw: Canys mi a fedraf roddi i chwi cyn llawned siccrwydd o wirionedd yr hyn y wyfi yn ei adrodd wrthych, a phettwn i wedi bod yno a'i weled âm llygaid; Am fod yn bossibl i un oddiwrth y meirw eich twyllo chwi: Eithr Jesu Christ ni ddichon byth mo'ch twyllo chwi: Ni ddichon gair Duw, yr hwn a adroddwyd yn yr yscrythur, ac a seliwyd i fynu trwy wyrthiau, a sanctaidd weithrediadau yr Yspryd byth mo'ch twyllo. Coeliwch hyn, neu na choeliwch ddim: Coeliwch ac ufyddhewch i hyn, neu fe a ddarfu am danoch.

noch. Weithian fel y mynnech fyth gredu Gair Duw, ac y mynnech fyth ofalu am jechydwriaeth eich eneidiau, gadewch i mi ddymuno arnoch y deiſyfiad rheſymol hwn, ac yr wyfi yn attolwg i chwi na naccaoch mhonofi,ſef pan eloch oddi yma, gofio o honoch yn ddioedd yr hyn a glywſoch, dechreu chwilio eich calonnau yn ddifrifol, a dywedyd wrthych eich hunain, [*ai felly mewn difri y mae? Ai rhaid i mi Droi neu farw? Ai rhaid i mi fod yn ddychweledic neu 'n ddamnedig? Mae'n ſadws i mi gan hynny edrych yn fy'nghylch,cyn y boi rhyhwyr. Oh paham nad edrychais am hyn hyd yn hyn? Paham y darfu i mi ar antur ffwdanu, a myned yn ſwſachlyd tros cymmaint o orchwyl? A oeddwn i yn effro, Neu yn fy Nghôf? O'r bendigedic Dduw! pa drugaredd yw na thorraiſt di ymaith fy einioes yr holl amſer yma, cyn cael o honof ddim gobaith ſiccr o'r bywyd tragwyddol? Gedwch iddo, Na atto Duw i mi eſceuluſo 'r gwaith yma ddim hwy. Pa gyflwr y mae fy enaid i ynddo? A ddychwelais i, ai nad do? A fu erioed y cyfryw gyfnewid neu waith ar fy enaid? A oleuwyd fi trwy Air ac yſpryd yr Arglwydd, i ganfod atgaſrwydd pechod, eiſieu am Jachawdwr, cariad Chriſt, a godidowgrwydd Duw a'i Ogoniant? A ddrylliwydd ac a ddaroſtyngwyd fy 'nghalon om mewn am fy muchedd or blaen? A groeſewais i yn ddiolchgar fy Jachawdwr am Harglwydd, yr hwn*

*ai*

*ai cnygiodd ei hun ynghyd a phardwn a bywyd im henaid? A wyfi yn casau fy muchedd bechadurus gynt, a gweddillion pob pechod ar sydd ynof? A wyfi yn ffoi rhagddynt, megis fy'ngelynion marwol? A wyfi yn fy rhoddi fy hun i fynu i fuchedd o Sancteiddrwydd ac ufydd-dod i Dduw? A Ydwyfi yn ei charu ac yn ymhyfrydu ynthi? A allafi ddywedyd am wirionedd fy mod yn farw ir byd ar Hunan gnawdol, am bod yn byw i Dduw ar gogoniant ar à addawodd ef? A oes gennyf fwy pris a phwrpas am y nefoedd, na'r ddaiar? Ai Duw hefyd yw'r Anwylaf ar Goruchaf yn fy enaid? Mae'n ddiammau gennyf fy mod unwaith yn byw yn bennaf ir byd ar cnawd, ac nad oedd Duw yn cael ond rhyw wasanaeth digalon, ar a allau'r byd ei hepcor, ac a oedd weddill y cnawd. A yw fy nghalon yn awr wedi troi ffordd arall? A oes gennyf fwriad newydd, a diben newydd, a haid newydd o anwydau sanctaidd? A sefydlais i fy'ngobaith am calon yn y nefoedd? Ai ergid, a bwriad, a gogwyddiad fy'nghalon am buchedd yw ceisio dyfod yn ddiball ir nefoedd, a chael gweld wyneb-pryd gogoneddus Duw, a byw yn ei dragwyddol gariad ai foliant ef? A phan bechwyf, ai yn erbyn greddfol ogwyddiad a bwriad fy'nghalon y mae? Ac a wyfi yn gorchfygu yr holl anfad bechodau, ac a wyfi yn blino, ac yn ewyllyssio cael ymwared oddiwrth fy ngwendidau? Dyma gyflwr enaid dych-*

*weledic: ac fal hyn y mae 'n rhaid bod gyda myfi, neu ddarfod am danaf. Ai fal hyn y mae gyda myfi, ai nad ê? Mae hi yn amser i geisio dattod y petrusder hwn cyn ir Barnwr ofnadwy ei ddattod. Nid wyfi mor ddieithr im calon am buched fy hun, nad allafi frith ddeall a ddychwelais i fal hyn ai peidio; onid do ni thal dim i mi weniheithio im henaid â choeg-dyb, a gobath anghywir. Yr wyfi yn ymroi na thwyllwyf mhono fy hun mwyach; ond gwneuthur fy ngorau ar wybod mewn gwirionedd yma neu accw, a ddychwelais i, ai nad do: fel os gwneuthum, y gallwyf lawenynychu yn hynny, a gogoneddu fy Arglwydd grasol, a myned ymlaen yn gyssyrus i gyrraedd y goron: Ac oni wneuthum, y gallwyf ymosod i ymerfyn ac i ymgais am y grâs a allasei fy nhroi, ac a all fy nhroi yn ddioedd: Canys os gwelaf mewn pryd fy môd allan or ffordd, trwy gynnhorthwy Crist mi allaf droi a chael fy adgyweirio: Ond os arhosaf fi, oni bytho fy nghalon wedi ei gwrthod gan Dduw mewn dallineb a chledrwydd, neu hyd oni chippier fi ymaith gan angau, yno mae'n rhy-hwyr. Nid oes mor lle i edifeirwch a throedigaeth y pryd hynny; mi a wn fod yn rhaid iddo fod naill ai 'n awr, ai na bytho byth.*

Hawyr, hyn yw fy neisyfiad arnoch, ddodi o honoch dasg ar eich calonnau ai holi fal hyn, nes i chwi ganfod os bydd possibl pa un ydych ai dychweledic ai nad ydych? Ac oni fedrwch chwi gael hyn allan trwy eich

aſtudrwydd eich hunain, ewch at eich gwei-
nidogion,os byddant gwyr ffyddlon profedic,
a dymunwch eu cynnhorthwy hwynt. Mae'r
matter yn fawr, nedwch i wylder a diofalwch
eich lluddias. Maent hwy wedi eu goſod
arnoch i'ch cynghori, er mwyn achub eich
eneidiau, megis ac y cynghora Phyſygwyr
chwi er iachâad ich cyrph. Tybied eu bôd ar
ffordd iechydwriaeth pan nad ydynt; a thy-
bied eu bod wedi dychwelyd, pan nad oes
dim or fath beth,a ddiniſtria llawer o filoedd.
Ac yno pan alwom ni arnynt beunydd i
Droi, maent yn myned ymaith fel y dae-
thont, ac yn tybied nad yw hyn yn perthyn
iddynt hwy, am i bod wedi troi yn barod, ac
yn gobeithio y gwnânt yn ddigon da yn y
ffordd y maent arni, or lleiaf os pigant y
llwybr teccaf, a gochelyd rhai or camrau
butraf; Pryd nad ydynt, yſywaeth, yr holl
amſer yma ond byw ir byd a'r cnawd,gan fod
yn ddieithriaid i Dduw ar bywyd tragwydd-
ol,ac yn hollawl oddiar y ffordd ir Nefoedd.
A hyn oll ſydd fawr, o ran nas gallwn ni
moi perſwadio hwynt i feddwl ychydig yn
ddifrifol am eu cyflwr, ac i dreilio ychydic
oriau yn holi eu hyſtât. Onid oes lawer
adyn yn eu twyllo eu hunain, ar ſydd yn fy
'nglhywed i y dydd heddyw, na roeſant erio-
ed awr na chwarter awr yn eu holl oes i holi
eu heneidiau, ac i brofi beth a wnaethant
hwy ai troi mewn gwirioned ai na throeſant.
O Dduw trugarog! yr hwn a gymer ofal am

y fâth drueiniaid na chymerant ddim ychwaneg o ofal am danynt eu hunain! Ac a wnaiff cymmaint iw hachub rhag uffern, ac iw cymorth hwynt ir nefoedd, y rhai a wnant cyn lleied troſtynt eu hunain! Pettau bawb ar ſydd ar y ffordd i Vffern, ac yn yſtât damnedigaeth ond gwybod hynny, ni feiddient barhau yn hynny. Y gobaith mwyaf ar ſydd gan y Cythrel och dwyn i ddamnedigaeth yn ddiymwared, yw trwy eich cadw yn ddeillion, ac yn anwybodus o'ch cyflwr, a thrwy beri i chwi gredu y gellwch wneuthur yn ddigon da y ffordd yr ych arni. Pe gwyddech chwi eich bod oddiar y ffordd ir nefoedd, a'ch bôd yn golledic yn dragywydd pettych yn meirw fel yr ydych; a feiddiech chwi gyſgu noſwaith ychwaneg yn y cyflwr yr ych ynddo? A feiddiech chwi fyw ddiwrnod etto ynddo ef? A fedrych chwi grechwenu a bod yn llawen yn y fâth gyflwr? Pa beth! ac heb wybod nad eller eich cippio i Uffern mewn un-awr. Diammau y parai i chwi ymadel â'ch cymdeithas a'ch helyntiau gynt, ac yr ymgyfeiriech at ffyrdd Sancteiddrwydd, a chymundeb y Sainct. Diammau y gyrrai hynny chwi i lefain ar Dduw am galon newydd, ac i geiſio cymmorth y rhai ſydd gymmwys i'ch cynghori. Nid oes neb o honoch yn ddiammau heb fatter gantho am eu ddammio? Os felly y mae, Attolwg i chwi ar frŷs chwilio eich calonnau, ac na adawoch iddynt lonyddwch, nes cael allan eich cyflwr

cyflwr; fel os yw efe dda,y galloch lawenychu yntho, a mynd ymlaen; ac os drwg ſydd, y galloch yn bryſur edrych yn eich cylch am ymwared, megis dynion yn credu fod yn rhaid iddynt Droi *neu feirw*. Hawyr beth a ddywedwch? A ymrowch chwi ac addaw cymeryd cymmaint a hyn o boen gydâ'ch eneidiau? A ſyrthiwch chwi ar yr ymholi yma arnoch eich hunain pan ddeloch adref? A ydyw fy neiſyfiad i yn anrheſymmol? fe a ŵyr eich cydwybodau nad ydyw: ymrowch iw wneuthur cyn yſmicio; gan wybod faint y mae 'n perthyn ich eneidiau. Yr wyfi yn attolwg i chwi, er mwyn y Duw hwnnw ſydd yn gorchymmyn i chwi, wrth frawdlef yr hwn yr ymddangoſwch oll ar fyrder, na naccaoch fi or deiſyfiad rheſymmol hwn. Er mwyn yr eneidiau hynny ſydd raid iddynt Droi neu feirw, yr wyfi 'n attolwg na naccewch mhonof, wneuthur o honoch yn orchwyl,iwch ddeall eich cyflwr eich hunain, ac adeiladu ar ſail ſafadwy, a gwybod yma neu accw, a droeſoch ai nad do, ac na anturioch moch eneidiau ar ddifraw-wch diddarbod.

Ond nid hwyrach i chwi ddywedyd; beth os caem ni ein hunain heb ddychwelyd etto? Yno pa beth a wnawn ni? Dyma 'r Cweſtiwn ſydd yn fy arwain at fy ail Athrawiaeth, yr hon a wna lawer o ran atteb iddo, at yr hon yn awr mi a âf rhagof.

Athr. 2. *A Ddewid Duw yw, y caiff yr annuwiol fyw os troant, sef, os troant yn ddiffuant ac yn hollawl.*

Mae 'r Arglwydd yma yn cyhoedd gyfaddau mai dyma 'r hyn y mae efe yn ymhoffi ynddo, bod ir annuwiol Droi a Byw. *Mae 'r nefoedd gwedi ei gwneuthur mor siccr ir Dychweledic, ac yw uffern ir annychweledic. Trowch a Byw fyddwch, sydd wirionedd cyn siccred, a Throwch neu meirw a fyddwch.* Nid oedd Duw rwymedic i ddarparu i ni Jachawdwr, nac i agoryd i ni ddrws gobaith, nac in galw i Edifarhau a Throi, pan oeddym ni unwaith wedi ein taflu ein hunain ymaith trwy bechod. Ond efe ai gwnaeth yn rhâd i fawrhau ei drugaredd: Bechaduriaid, ni chaiff neb o honoch achos i fyned adref, a dywedyd, fy mod i yn pregethu i chwi anobaith. A ydym ni arferol, o gau i fynû ddrws trugaredd yn eich erbyn? O na baech heb ei gau ef i fynu yn eich erbyn eich hunain! A ydym ni arferol, o fynegi i chwi na thrugarha Duw ddim wrthych, er i chwi droi a bôd wedi eich Sancteiddio? Pa bryd y clywsoch chwi Bregethwr yn dywedyd y fâth air? Chwy-chwi y sawl a gyferthwch ar ol Pregethwyr yr Efengyl, am chwennych eich cadw allan o uffern, ac a ddywedwch eu bôd yn pregethu anobaith: Mynegwch i mi os medrwch, pa bryd y clywsoch chwi erioed un-dyn yn ei bwyll yn dywedyd, nad oes iwch obaith, er i chwi edifarhau a dychwelyd? Nage, y

gwir wrthwyneb yr ydym ni beunydd yn ei gyhoeddi oddiwrth yr Arglwydd; y caiff pwy bynnag a ailanwyd, ac ſydd trwy ffydd ac edifeirwch yn dyfod yn greadur newydd fôd yn ſiccr yn gadwedic; A ninnau ydym cyn belled oddiwrth eich perſwadio i anobeithio hyn, a'n bôd ni yn eich perſwadio nad amheuoch mhono. Bywyd ac nid marwolaeth yw y rhan gyntaf on Cennadwri ni attoch: Ein Commiſſiwn ni ſydd i gynnyg iechydwriaeth, iechydwriaeth ddiogel, pryſur, ogoneddus, dragwyddol iechydwriaeth i bob un o honoch; ir cardottyn tlottaf yn gyſtal ac ir Arglwydd nwyaf, ir dihiraf o honoch; ſef ir meddwon, tyngwyr, bydol-wyr, lladron, ie i ddirmygwyr a goganwyr ffordd ſanctaidd iechydwriaeth: fe a orchmynnir i ni gan yr Arglwydd ein Meiſtr, gynnyg i chwi bardwn am gymmaint oll ac a baſſiodd, os gwnewch chwi bellach or diwedd ond dychwelyd a byw. Fe orchmynnir i ni attolygu ac ymbil arnoch am dderbyn y cynnyg a Dychwelyd; ac i ſynegi i chwi pa baratoad a wnaethbwyd gan Griſt; pa drugaredd ſy'n aros am danoch; pa amynedd ſy'n diſgwil wrthych; pa ſwriadau o garedigrwydd ſydd gan Duw tu ac attoch; Ac mor ddedwydd, mor ſiccr ac anrhaethawl Ddewydd y gellwch chwi fôd os mynnwch. Yn ſiccr mae gennym ni hefyd Gennadwri o ddigofaint ac Angeu, ie o ddwbl ddigofaint ac Angeu: Ond nid ein prif gennadwri yw 'r un o honynt: Mae 'n rhaid i ni ſynegi i chwi y di-

gosaint sydd arnoch yn barod, a'r farwolaeth y ganwyd chwi tani, am dorri Deddf gweithredoedd: Eithr nid yw hyn ond dangos yr eisiau am drugaredd, a'ch annog i brisio grâs y Pryniawdwr. Ac nid ydym ni yn mynegi i chwi ddim ond y gwir sydd yn rhaid i'r chwi ei wybod; Canys pwy a gais Physygwriaeth ond a wypo ei fôd yn glâf? Nid yw ein gwaith ni yn dangos i chwi eich trueni, yn eich gwneuthur yn druain; onid eich hymlid chwi allan y mae i ymgais am drugaredd. Chwychwi a ddygasoch y farwolaeth hon arnoch eich hunain. Yr ydym ni hefyd yn mynegi i chwi am farwolaeth arall, yr hon sydd ddiymwaredawl, a llawer mwy ei phenyd, ar a ddigwydd ir cyfryw rai na fynnont ddychwelyd. Ond megis ac y mae hyn yn wîr, ac yn rhaid ei fynegi i chwi, felly nid yw ef ond y rhan olaf a thosturiaf o'n Cennadwri ni. Yr ydym ni yn y man cyntaf i gynnyg iwch Drugaredd, os Trowch; A hwynt hwy yn unig ar na throant, ac na wrandawant ar lais Trugaredd, yw 'r fawl y mae yn rhaid i ni rag-fynegi damnedigaeth wrthynt. A wnewch chwi cymmaint a bwrw ymaith eich anwireddau; Nac oedwch yn hwy, ond deuwch ymaith ar Alwad Christ, a dychwelwch, ac ewch yn greaduriad newyddion, ac nid oes gennym ni Air o ddigofaint neu farwolaeth ddamnedigawl iw lefaru yn eich erbyn. Yr wyfi yma yn enw Arglwydd y bywyd yn cyhoeddi i chwi oll ar sydd yn fy'nghlywed

nghlywed y dydd heddyw, ir gwaethaf o honoch, ir pechadur mwyaf,a'r hynaf,y gellwch gael trugaredd ac Jechydwriaeth os gwnewch ond troi. Yn Nuw y mae trugaredd, ac y mae digonolrwydd yn yr iawn a roes Criſt, mae 'r Addewid yn rhâd, yn gyflawn, ac yn gyffredinol; Chwi a ellwch gael bywyd, os gwnewch ond Troi. Gan hynny megis ac yr ydych yn caru eich eneidiau, cofiwch pa drôad yw y mae 'r yſcrythur yn ſôn am dano. Nid tacclu yr hên dŷ yw, ond tynnu'r cwbl i lawr, ac adeiladu o newydd ar Griſt y graig ar ſail ddiogel. Nid gwellau rhyw ſaint ar yſtôd buchedd gnawdol,ond marweiddio y cnawd, a byw yn ôl yr yſpryd. Nid chwaith gwaſanaethu'r cnawd ar byd yw mewn ffordd ſwy diwygiol, heb ddim pechodau ſarrhaus cwilyddus, ac mewn rhyw fâth ar grefydd; Eithr cyfnewid eich meiſtr yw,ach gwaith,a'ch diben, ac wynebu ffordd o'r gwrthwyneb,a gwneuthur pob dim i gael y bywyd nas gwelſoch erioed, a'ch cyſegru eich hunain a'r hyn oll a feddwch i Dduw. Dyma 'r newidiad ſydd raid ei wneuthur os mynnwch chwi fyw.

Chwy-chwi eich hunain ydych yn awr dyſtion, mai Jechydwriaeth ac nid damnedigaeth, yw'r Athrawiaeth fawr yr wyfi yn ei phregethu i chwi, ar rhan gyntaf om Cennadwri i attoch. Derbyniwch hon, ac nid awn ni a chwi ddim pellach; Canys nis mynnem ni cymmaint ach dychrynu neu 'ch

blino

blino ag enw Damnedigaeth yn afraid.

Eithr oni fynnwch fod yn gadwedic, nid oes rwymedi, ond rhaid i ddamnedigaeth gymeryd lle. Am nad oes un fan ganolic rhwng y ddau, rhaid i chwi gael naill a'i bywyd ai marwolaeth.

Ac nid ydym ni yn unig yn Cynnyg i chwi Einioes, ond yn dangos i chwi yr ammodau ar ba rai yr ydym yn ei wneuthur, ac yn eich Galw i gredu fôd Duw mewn gwirionedd yn bwriadu fel y mae 'n llefaru, fod yr addewid yn wir, ac yn cyrhaedd tan ammod hyd attoch chwi yn gystal ac eraill, ac nad yw'r nefoedd ddychymmyg, onid gwir ddedwyddwch.

Os gofynnwch pa le mae ein *Commissiwn i gynnyg hyn*; *Ymlhith Cant* o leoedd or ysgrythur, myfi ai dangosaf yn yr ychydic leoedd hyn.

Yn gyntaf, chwi ai gwelwch yma yn fy 'nhestyn ar adnodau sy'n canlyn, ac yn y 18 o *Ezec.* mor eglur ac y galler i adrodd. Ac yn 2 *Cor.* 5. 17, 18, 19, 20, 21. y mae iwch swmm ein Commissiwn, [ *Os oes neb yn Ghrist, y mae efe yn greadur newydd: Yr hên bethau a aethant heibio, wele, gwaethpwyd pob peth yn newydd. a phob peth sydd o Dduw, yr hwn an cymmododd ni ag ef ei hun trwy Jesu Grist, ac a roddodd i ni weinidogaeth y cymmod. Sef bod Duw yn-Ghrist yn cymmodi y byd ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt*

eu

eu pechodau, ac wedi goſod ynom ni air y cymmod. Am hynny yr ydym ni yn gennadon tros Griſt, megis pe byddau Dduw yn deiſyf arnoch trwyddom ni; Yr ydym yn erfyn tros Griſt, Cymmoder chwi â Duw; canys yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod troſom ni, fel i'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef.] felly Marc. 16. 15, 16. Ewch ir holl fyd a phregethwch yr Efengyl i bób creadur: Y neb a gredo, (hynny yw, trwy 'r cyfryw ffydd ddychweledic ar a adroddwyd) ac a fedyddier, a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo, a gondemnir. A Luc. 24. 46, 47. [felly yr oedd raid i Griſt ddioddef, a chyfodi o feirw y trydydd dydd: a phregethu edifeirwch (yr hyn yw troedigaeth) a maddeuant pechodau yn ei enw ef, ymlhith yr holl genhedloedd.] Ac Act. 5. 30. 31. Duw ein tadau ni a gyfododd i fynu Jeſu, yr hwn a laddaſoch chwi, ac a groeſhoeliaſoch ar bren, hwn a dderchafodd Duw âi ddeheulaw, yn dywyſog, ac yn Jachawdwr, i roddi edifeirwch i Iſrael a maddeuant pechodau. Ac Act. 13. 38, 39. Am hynny, bydded hyſpys i chwi Ha-wyr frodyr, Mai trwy hwn yr ydys yn pregethu i chwi faddeuant pechodau; a thrwy hwn y cyfiawn-heir pob un ſydd yn credu, oddiwrth yr holl bethau, y rhai ni allech drwy gyfraith Moſes gael eich cyfiawnhau oddiwrthynt. A rhag i chwi dybied fod Duw yn cynnig hyn yma yn unig ir Iddewon, edrychwch.

Gal.

Gal. 6. 15. *Canys yn Ghrist Iesu ni ddichon Enwaediad ddim, na dienwaediad, ond creadur newydd.* A Luc. 14. 17. [*Deuwch, canys weithian y mae pob peth yn barodd.*] a'r adn. 23. 24.

Chwi a welwch erbyn hyn fod yn gorchymyn i ni gynnyg Bywyd iwch bawb oll, a mynegi i chwi oddiwrth Dduw y gellwch chwi fyw os trowch.

Dyma lle gellwch chwi yn ddienbyd ymddiried am eich eneidiau: Canys Cariad Duw yw ffynnon y cynnigiad hwn, *Io.* 3. 16. a gwaed Mâb Duw ai pwrcasodd: ffyddlondeb a gwirioned Duw a ymrwymodd i wneuthur yr addewid yn dda: Gwyrthiau a seliasant i fynu y gwirionedd o hono: Pregethwyr a anfonir trwy 'r byd iw gyhoeddi; Y Sacramentau a ordeiniwyd, ac a arferir o ran parchus osod allan y drugared a gynnygir ir sawl ai derbyniant: A'r Ysbryd Glân sydd yn agor y galon iw chroesawu; ac efe ei hun yw ernes y cyflawn feddiant. Y mae y gwirioned o hyn gan hynny yn ddiddadl, y geill y gwaethaf o honoch, a phob un o honoch os gwnewch ond dychwelyd, fod yn gadwedic.

Diau, os mynnwch chwi goelio y byddwch gadwedic heb *Droedigaeth*, ych bod chwi yn coelio anwiredd: a phe pregethwn innau hynny i chwi, mi a bregethwn gelwydd. Nid credu i Dduw yw hyn, ond ir Cythraul ac ich calonnau twyllodrus eich hunain

nain. Mae gan Dduw ei Addewid o Einioes, *a chan Ddiafol ei addewid o Einioes. Addewid Duw yw* [*Dychwelwch a byw fyddwch*] Addewid Diafol yw [Chwi a gewch fyw *pa un bynnaca wneloch ai troi ai peidio*] Gair Duw fel y dangosais iwch yw, [*Oddieithr eich troi chwi, ach gwneuthur fel plant bychain, nid ewch ddim i mewn i deyrnas nefoedd*, Mat. 18. 3. *Oddieithr geni dyn drachefn* ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw, *Joan.* 3. 3, 5. *Heb sancteiddrwyd ni chaiff neb weled yr Arglwydd*, Heb. 12. 14.] Gair diafôl yw [*Chwi a ellwch fod yn gadwedic heb eich geni drachefn a throi; Chwi a ellwch fod yn dda ddigon heb fod yn Sanctaidd: Nid yw Duw ond eich dychrynnu chwi; Mae efe yn drugaroccach nag y gwnelo fal y mae'n dywedyd, efe a fydd i chwi yn well nâ'i air.*] Ac ysywaeth, mae y rhan fwyaf or byd yn credu 'r gair hwn o eiddo 'r Cythraul o flaen gair Duw, Yn yr un môdd ac y daeth ein pechod a'n trueni ir byd. Duw a ddywedodd wrth ein rhieni cyntaf [*Os bwytewch, chwi a fyddwch feirw*] A'r Cythraul ai gwrthettyb, gan ddywedyd [*ni byddwch feirw ddim*] A'r wraig a goeliodd y Cythraul o flaen Duw. Felly y mae 'r Arglwydd yr awron yn dywedyd [*Trowch neu meirw fyddwch*] a'r Cythraul sy 'n dywedyd [*Ni byddwch feirw ddim, os gwnewch cymmaint a llefain ar Dduw am drugaredd ar y diwedd, a rhoi heibio weithrediadau'r pechod,*

*pryd nas gallech moi gweithredu ddim yn hwy.*] A dyma 'r gair y mae 'r byd yn ei gredu. Oh yſgelerder aneſgorol! Credu diafol o flaen Duw.

Ar er hyn nid dyna 'r peth gwaethaf; hwy a alwant hyn trwy gabledd Credu ac ymddiried yn Nuw, yr hwn a oſodant yn rhith Satan, yr hwn oedd gelwyddog or dechreuad; a phan fônt yn coelio fod gair Duw 'n gelwyddoc, galwant hyn ymddiried yn Nuw, a dywedant eu bôd yn credu yntho, ac yn hyderu arno am iechydwriaeth. Pa le y dywedod Duw erioed y caiff y diadgenhedledic, annychweledic, anſanc̄teiddiedic fôd yn gadwedic? Dangoſwch y cyfryw air o fewn yr yſcrythur herr i chwi os medrwch? Pa beth? hwn yw gair y Cythraul, ai gredu yw credu 'r Cythraul, a'r pechod a elwir yn ſathredic Rhyfyg: Ac a ydych chwi yn galw hyn Credu ac ymddiried yn Nuw? Mae digon yngair Duw i gyſſuro a nerthu calonnau y *Sanc̄teiddiedic:* ond nid oes air i nerthu dwylaw annuwioldeb, nac i roddi i ddynion y gobaith lleiaf o fod yn gadwedic, os byddant byth heb eu ſanc̄teiddio.

Eithr os chwi a drowch a dyfod i ffordd Trugared, mae trugaredd yr Arglwydd yn barod ich croeſawu. Ymddiriedwch gan hynny yn Nuw am Jechydwriaeth yn hyf ac yn hyderus, Canys efe a ymrwymodd trwy ei air ar eich cadw chwi. Ni bydd efe Tâd i

neb

neb ond iw blant, ac ni cheidw efe neb ond y rhai a ymwrthodant â'r byd, a'r Cythraul ac â'r cnawd, ac a ddeuant i mewn iw deulu ef i fôd yn aelodau iw fab, ac i gael cymmundeb a'i Sainct. Eithr oni ddeuant i mewn, arnynt hwy y mae 'r bai: Mae ei ddorau ef yn agored: Nid yw ef yn gwrthod neb: Ni anfonodd efe erioed y fath gennadwri a hon at neb o honoch. [*Mae hi weithian yn rhyhwyr: ni dderbyniafi mhonot er i ti Droi.*] Efe a allasai wneuthur felly, ac heb wneuthur cam a chwi: Ond ni wnaeth efe; Ac nid yw yn gwneuthur hyd y dydd heddyw. Mae ef yn oestadol yn barod i'ch derbyn, pettech chwi ond parod i Droi yn ddiffuant ac a'ch holl galonnau. A llawnder y gwirionedd yma a ymddengys etto ymhellach yn y ddwy Athrawieth sy'n canlyn, at y rhai gan hynny yr âfi rhagof yn y man nesaf, cyn im wneuthur dim Defnydd o hyn ymhellach.

---

# Athr. 3.

*MAe Duw yn ymhoffi yn Nhroedigaeth ac Iechydwriaeth dynion: ond nid yn eu marwolaeth a'u damnedigaeth: Gwell gantho Droi o honynt a Byw, na myned rhagddynt a Meirw.*

YN gyntaf mi a ddyſgaf pa fodd y mae i chwi ddeall hyn: ac yno mi a eglurhâf i chwi Y gwirioned o hono.

Ac am y cyntaf, rhaid i chwi ddal ſulw ar y pethau hyn a ganlyn.

1. *Syml ewylly-ſgarwch neu fodlonrwydd* Yw prif weithred yr Ewyllys, yn canlyn *Syml Amgyffrediad y dealldwriaeth*, cyn iddo fyned ymlaen i gyffelybu pethau ynghyd. Eithr gwaith yr Ewyllys yn dewis ſydd weithred ddylynawl, ac yn rhoi rhag-argoel o Braithic waith y Deall yn cyffelybu: ar ddwy weithred hyn a allant fôd ai tynfa at nôdau gwrthwynebol, heb ronyn o fai yn y Dyn.

2. Geill amryw raddau fôd o ewyllyſgarwch ddiffuant. Rhai pethau yr wyfi yn ei hewyllyſio cym mhelled, ac y gwnelwyf gymmaint oll ac a allwyf o ran eu cyflowni: A rhai pethau yr wyfi yn wir fodlon i arall iw gwneuthur, pan nas gwnelwyfi er hynny cymmaint oll ar a allwyf iw dwyn hwynt i ben, gan fôd gennif ſagad o reſymmau im hannog oddiwrth hynny; er i mi wneuthur er hynny y cwbl oll ar ſydd yn perthyn i mi iw gwneuthur.

3. Ewyllys Rheolwr, fel y mae 'n rheolwr, a amlygir yn gwneuthur ac yn cyflowni Cyfreithiau: Eithr ewyllys gŵr yn ei ſyml anianawl amgyffred, neu megis Arglwydd perffeith-lawn ar yr eiddo, a amlygir wrth chwennych neu ddeongli digwyddiadau.

4 E-

4. Ewyllys Rheolwr megis Goſodwr-cyfraith ſydd yn gyntaf ac yn bennaf ar uſyddhau iw gyfraith, ac nid ar goſpi neb mewn ûn môdd, ond yn unig trwy rag-fwrw nad uſyddhaont iw eirchion ef. Eithr ewyllys Rheolwr, megis Barnwr, ſydd yn bwrw, fôd y gyfraith naill ai gwedi ei chadw neu ei thorri eiſoes, ac am hynny y mae 'n ymroi i wobrwyo neu ei goſpi yn ôl hynny.

Gwedi i mi ddodi i chwi y doſparthiadau anhepcor hyn, mi ai cymhwyſaf hwynt yn y man neſaf at y matter mewn llaw, yn y traethiadau hyn ſy'n canlyn.

1. Yn Nrych y gair a'r creaduriaid y mae yn rhaid i ni adnabod Duw yn y bywyd hwn; ac felly yn ôl natturiaeth Dyn, yr ydym ni yn cyfrif iddo efe ddeall ac ewyllys, gan ſymmud ymaith bob amherffeithrwydd ar a allom, o herwydd nad ydym ni yn ymgyrraed dim goruwch ddychymygion pendant am dano ef.

2. Ac ar yr unrhyw arddelion yr ydym ni (gydâ 'r yſcrythur) yn gwneuthur doſparth rhwng gweithrediadau ewyllys Duw, megis gwahanrhedawl oddiwrth berthynaſau y cyferbynniadau, er eu bôd o ran hanfod Duw oll yn ûn.

3. Ac yn hyfach, o herwydd pan ſonniom am Griſt, mae gennym arddel ychwaneg i hynny oddiwrth ei ddynawl anian ef.

4. Ac fal hyn y dywedwn, fôd Syml fodlonrwydd, ewyllys, neu gariad Duw at bob

dim oll ar ſydd dda wrth naturiaeth neu yn foeſawl, yn ôl natur neu râdd ei ddaioni ef. Ac felly y mae efe yn ymhoffi yn nrhoedigaeth ac iechydwriaeth pawb, yr hyn er hynny ni ddaw beth i ben.

5. A Duw megis Rheolwr a Deddfwr y bŷd ſydd gantho ewyllys gweithiawl o ran eu hiechydwriaeth hwynt, cymmhelled a gwneuthur iddynt râd *Weithred Hyrôdd* o Griſt ac o fywyd, ac act o Ebargofiad am eu holl bechodau hwynt, trwy na bo iddynt ei wrthod yn anniolchgar; A gorchymmyn iw Gennadon gynnyg y Rhôdd yma ir holl fyd, ai perſwadio iw dderbyn: ac felly y mae efe megis Rhoddwr-cyfraith ac Addewidiwr, yn gwneuthur cymmaint oll ar ſydd berthynol iddo efe iw wneuthur o ran eu hiechydwriaeth hwynt.

6. Ond er hyn, mae efe megis Goſodwr-cyfraith yn bwriadu y cânt hwy feirw oni throant. Ac megis Barnwr, pan elo dydd grâs heibio, efe a gyflawna ei Ordinhâd honno.

7. Ac felly y mae'n wir, ei fod ef fel hyn yn ddiffuant yn ewyllyſio Troedigaeth y rhai ni Throir byth; eithr nid megis Arglwydd Cyflawn-gwbl, â Llwyr-fryd cyflawn-rym, na chwaith megis peth y mae efe yn ddios ar fedr dyfod o hono i ben, neu y mae efe yn ymrwymo ei holl allu ar ei gyflawni. Mae y 'ngallu y Tywyſog oſod gwiliadwriaeth ar lofrudd iw wilied rhag iddo efe lâdd na chael

chwaith

chwaith moi grogi. Onid os paid efe â hyn ar reswm da; heb wneuthur dim ond anfon at eu ddeiliaid, ai rhybuddio, ac ymymbil a hwynt na bônt lofruddion, gobeithio y geill ef ddywedyd yn hydda na fynnai efe iddynt lâdd a chael eu crogi; nid yw efe yn ymhoffi yn hynny; ond yn hytrach ar iddynt beidio, a byw. Ac os gwneiff *efe fwy er rhai, ar ryw reswm enwedigol*, nid yw ef rwym i wneuthur felly a phawb.

Geill y Brenin ddywedyd yn hydda wrth holl Lofruddion a lladron y wlâd [*Nid wyfi yn ymhoffi yn eich marwolaeth, ond yn hyttrach ar gadw o honoch fy nghyfreithiau a byw: Eithr oni wnewch, Mae yn fy mryd cael o bawb o honoch feirw.*] Geill y barnwr ddywedyd am wir wrth y Lleidr neu 'r Llofrudd [*Och ddyn, nid wyfi yn ymhoffi yn dy farwolaeth di: gwell fuasai gennyfi gadw o honot y gyfraith, ac achub dy hoedl: Ond gan weled nas gwnait rhaid i mi dy gondemnio, neu mi a fyddwn anghyfiawn.*] felly er nad yw Duw yn ymhoffi yn eich damnedigaeth, ac am hynny yn eich galw i ddychwelyd a byw, etto mae efe yn ymhyfrydu yn Eglurhâd ei Gyfiownder ei hun, a chyflowniad ei gyfreithiau; ac am hynny mae efe er hyn ei gyd yn bwriadu yn hollawl oni ddychwelwch chwi, y cewch eich Damnio. Pettau Dduw mor gwbl yn erbyn marwolaeth yr annuwiol a bod yn ymroi i wneuthur cymmaint oll ar a fedro iw luddias, yna ni byddei neb Damnedig; ond

y mae Crist yn dywedyd i chwi mai ychydig a fydd cadwedic. Eithr Duw sydd cyn belled yn erbyn eich damnedigaeth, ac y dysc ef chwi, ach rhybyddio, a gosod gar eich bronnau einioes ac angeu, a chynnig i chwi eich dewis, a gorchymyn iw Weinidogion erfyn na ddamnioch chwi mhonoch eich hunain, ond derbyn ei drugaredd ef, ac felly ich gadel yn ddiescus. Eithr os hyn ni wasanaetha, ac os byddwch etto heb ddychwelyd, mae efe ai fryd ar eich Damnedigaeth, ac a orchmynnodd i ni ddywedyd wrthych yn ei enw ef, *Adn.* 8. *Ti annuwiol gan farw a fyddi farw.* Ac ni wnaeth Crist fawr lai na'i dyngu drachefn, a thrachefn, *Ac yn wir, yn wir oddieithr eich troi, a'ch geni drachefn, nid ellwch chwi fyned i mewn i deyrnas nefoedd, Mat.* 18. 3. *Jo.* 3. 3. Deliwch sulw, ei fod ef yn dywedyd (*ni dichon, neu ni ellwch*) nid gwiw gobethio am dano, ac ofer yw breuddwydio fôd Duw yn fodlon iddo, am ei fôd yn beth ni ddichon mor bôd.

Ar un gair gan hynny, chwi a welwch ystyriaeth y testyn, nad yw Duw, mawr Osodwr-cyfraith y byd, yn ymhoffi dim ym marwolaeth yr annuwiol, ond ar iddynt Droi a byw; er iddo fwriadu er hynny na chaiff neb fyw ond y rhai a droant; ai fôd megis Barnwr yn ymhoffi mewn Cyfiownder, ac yn eglurhau ei gasineb ir pechod, er nad yw yn eu trueni, yr hwn a ddygasant hwy ar-

arnynt eu hunain, oi ystyried yntho ei hun.

2 Ac am Resymmau y pwngc, myfi a fyddaf byrr ynthynt, o herwydd fy Mod yn tybied eich bôd yn hyrwydd yn ei gredu yn barod.

1. Fe eill grasusol naturiaeth Duw ar a gyhoeddedir yn *Ex*. 34. 6. ar 20. 6. ac yn aml mewn lleoedd eraill, eich siccrhau chwi o hyn, nad yw efe yn ymhoffi yn eich marwolaeth.

2. Pettau Dduw yn ymhoffi yn eich marwolaeth yn fwy nag yn eich troedigaeth a'ch bywyd, ni buasei efe cyn fynyched yn ei air yn gorchymyn i chwi droi; Ni wnaethai efe i chwi mor cyfryw addewidion o fywyd, os gwnewch cymmaint a throi; Ni buasei efe yn eich perswadio i hynny trwy gynifer o resymmau. Mae Trefn yr Efengyl yn profi 'r pwngc.

3. Ai Gommissiwn yr hwn a roddes ef i weinidogion yr Efengyl, sydd yn profi hyn yn helaeth. Pe buasei Dduw yn ymhoffi mwy yn dy ddamnedigaeth, nag yn dy droedigaeth ath iechydwriaeth, ni buasei efe erioed yn peri i ni gynnyg i chwi drugaredd, a dyscu i chwi ffordd y bywyd ar gyhoedd ac or neulltu, ac ymbil ac erfyn arnoch i droi a byw; ach gwneuthur yn gydnabydus â'ch pechodau; a dangos i chwi eich perygl ym mlaen llaw; a gwneuthur cymmaint oll ar sydd bossibl i ni ei wneuthur o ran eich troa-

digaeth, a pharhau yn ymmyneddus yn gwneuthur felly, er i ni gael ein casaû neu ein hamherchi am ein poen. A fuasei Dduw yn gwneuthur hyn, ac yn trefnu ei Ordinhadau er daioni i chwi, pe buasei efe yn ymhoffi yn eich marwolaeth?

4. Fe brofir hefyd wrth drefn ei Ragluniaeth ef. Ped fuasei gwell gan Dduw eich bôd yn ddamnedig nac yn ddychweledig a chadwedig, ni buasei efe yn taro ym mlhaid ei Air trwy ei weithredoedd, ac yn eich denu atto ei hun trwy ei dirionder beunyddol, ac yn rhoddi i chwi holl drugareddau y bywyd hwn, y rhai ydynt foddion *i'ch tywys chwi i edifeirwch, Rhuf.* 2. 4. a'ch dwyn cyn fynyched tan ei wialen, i beri i chwi bwyllo: ni osodai efe cynnifer o siamplau gar bron eich llygaid: ni ddisgwyliasei chwaith wrthych o ddydd i ddydd, ac o flwyddyn i flwyddyn, fel y mae yn gwneuthur. Nid yw y rhai hyn arwyddion o un yn ymhoffi yn eich marwolaeth. Pe buasei hôff gantho hyn, hawsed y gallasei efe dy gael yn Uffern er ys talm? fynyched y gallasei efe cyn hyn dy gippio di ymaith ynghanol dy bechodau; a rhegeu, neu lw, neu gelwydd yn dy enau, yn dy anwybodaeth, ath falchder, a'th anlladrwydd? Y pryd y buost di ddiwaethaf yn dy feddwdod, neu yn ddiwaethaf yn gwatwor ffyrdd Duw, hawsed y gallasai ef attal dy anadl, ath sobreiddio mewn byd arall? Och, leied peth fyddei ir hollalluog Arglwydd

reoli tafod y cablwr mwyaf halogaidd, a rhwy-
mo dwylaw yr erlidiwr mileiniaf, neu ostegi
cynddaredd y chwerwaf oi elynion, a gwneu-
thur iddynt wybod nad ydynt ond pryfe-
dach? Pettau efe ond gwgu arnat, ti a ddi-
ferit ith fedd. Pe rhoddei efe awdurdod i
un oi Angylion i fyned a difetha deng mil o
bechaduriaid, gynted y gwneid hynny? haw-
sed y medrei efe dy fwrw ar dy wely o ny-
chdod, a pheri i ti orwedd yno yn rhuo gan o-
fid, a gwneuthur i ti fwytaf y geiriau o
wradwydd, y rhai a adroddaist di yn erbyn
ei weision, ei air, ei addoliad, ai ffyrdd
sancteidd-lân ef, a gwneuthur it anfon i erfyn
gweddiau y cyfryw rai ac a ddirmygaist yn
dy ryfyg? hawsed y medr ef osod dy gnawd
tan ofidiau a gwewyr, ai wneuthur yn rhy-
egwan i gynnal dy enaid, ai wneuthur yn ffiei-
ddiach nâ thom y ddaiar? Y cnawd yna yr
hwn sydd raid iddo yn awr gael yr hyn y
mae yn ei hoffi, ac ni wasanaetha moi an-
fodloni ef pe rhôn ac anfodloni Duw; Ond
rhaid yw porthi ei swmpwy ef mewn bwyd-
ydd, diod, a dillad, beth bynnag a ddywedo
Duw ir gwrthwyneb, brysured yr ysau fy-
gythion Duw ef? Pan oeddit ti yn dy wŷn yn
amddiffyn dy bechodau, ac yn cwerylu â'r
sawl a fynnasent dy dynny di oddiwrthynt,
ac yn dangos dy atgasrwydd yn erbyn yr ar-
gyoeddwr, ac yn dadleu tros weithredoedd y
tywyllwch; hawsed y gallasei ef dy gippio di
ymmaith mewn mynudyn; ath osod gar bron

ei forwedd ofnadwy, lle cowsid weled myrdd fyrddiwn o Angylion gogoneddus yn sefyll gar bron ei orsedd-faingc? A thithau gwedi di alw yno i ddadlau dy ddadl, ac i ofyn i ti, *Pa beth sydd gennyt yn awr iw lesaru yn erbyn dy Greawdwr, ei wirionedd, ei weision, ai ffyrdd sanctaidd? dadlau dy ddadl yn awr, a gwna o honi oreu ac a ellych: beth a fedri di ddywedyd yn awr i escusodi dy bechod? dyro gyfrif yn awr oth fydolrwydd, ath fuchedd gnawdol, oth amser, or holl drugareddau a gefaist.* Ah pa wedd y toddei dy galon ystyfnig, ac yr iselid dy olygon beilchion! ac y galasai dy wyneb-pryd, ac y troid dy ddewr eiriau yn sûd ddistawrwydd neu yn oernâd ofnadwy, pettau Dduw ond dy osod fal hyn gar bron ei orsedd-faingc, a dadlau â thi ei gwyn ei hun, yr hwn y darfu i ti yma ddadlau mor ysgeler iw derbyn! hawsed y gall efe pan fynno ddywedyd wrth dy enaid euog [*Tyred ymmaith, ac na bydded it fyw mwyach yn y cnawd yna hyd yr adgyfodiad*] ac nid allai moi wrthwynebu. Gair oi enau ef a dynnai ymaith bwys dy einioes bresennol, ac yna dy holl ddoniau ath nerthoedd a safent heb ysgogi: Ac os dywaid efe wrthyt, [*Na bydded it fyw yn hwy, neu bydd fyw yn Uffern*] nid ellit nad ufyddheit.

Eithr ni wnaeth Duw ddim o'r rhai hyn etto, ond efe a gyd-ddygodd a thi yn ymyneddus, ac ath gynhaliodd yn drugarog, ac a roddodd i ti yr anadl hwnnw a anedlaist di

yn

yn ei erbyn ef: Ac a roddodd i ti y trugareddau hynny a aberthaiſt di ith gnawd, ac a gyſrannodd i ti y lluniaeth hwnnw a weriaiſt di i fodloni dy gêg wangcus: efe a rôddes i ti bob munudyn or amſer hwnnw a ddifrodaiſt mewn ſegurud,neu feddwdod,neu ſydolfaſnach: ac onid yw yr holl ymmynedd, a'r drugaredd hon yn dangos, na chwennychodd efe moth ddamnedigaeth? A eill y lluſern loſgi heb olew? A eill eich teiau ſefyll heb y ddaiar iw cynnal? Cyſtadl ag y gellwch chwithau ſyw un-awr heb Dduw ich cynnal. A phaham y cynhaliodd ef dy einioes di cyhyd, ond i edrych pa bryd yr yſtyrit ffolineb dy ffyrdd, ac y dychwelit a byw? A ddyru neb oi wir-fodd arfau yn nwylaw ei elyn iw wrthwynebu? Neu a ddeil ef y ganwyll i lofrudd ar ſydd yn lladd ei blant ef, neu i ſegurwâs a chwaratho neu a gyſgo hyd y r amſer? Diau mai i edrych a ddychweli di o'r diwedd a byw, y diſgwyliodd Duw cyhyd wrthyt.

5. Fe a brofir ymhellach trwy ddioddefiadau ei fâb, Nad yw Duw yn ymhoffi ym marwolaeth yr annuwiol. A brynaſei efe hwynt mor brid oddiwrth farwolaeth? A baraſei efe i Angylion a dynion ſynnu oblegyd ei ymoſtyngiad? A faſei Dduw yn preſwylio mewn cnawd, ac yn dyfod mewn agwedd gwâs, a chymeryd Dyndod ynghyd a'r Duwdod yn un perſon, ac a faſei Griſt yn byw bywyd o ddioddefiadau, ac yn marw o

farwolaeth felltigedig tros bechaduriaid, ped fasei gwell gantho ymhoffi yn eu marwolaeth hwynt? Bwriwch i chwi ei weled ef mor brysur yn pregethu ac yn eu hiachau hwynt? fel y cewch ef ym *Mar.* 3. 21. Neu cyhyd yn ymprydio, megis ym *Mat.* 4. neu ar hyd y nós yn gweddio megis yn *Luc.* 6.12. neu yn gweddio â'r defnynnau gwaed yn diferu oddiwrtho yn lle chwŷs, megis *Luc.* 22. 44. neu yn goddef marwolaeth felltigedig ar y groes, ac yn tywallt allan ei enaid megis aberth tros ein pechodau ni: A dybiech chwi fod y rhai hyn yn arwyddion o un yn ymhyfrydu ym marwolaeth yr annuwiol?

Na feddyliwch chwaith wneuthur y peth yn llai trwy ddywedyd, fod hyn yn unig tros ei etholedigion. Canys dy bechod di ydoedd, a pechod yr holl fyd a bwysodd ar ein Pryniawdwr: ai aberth, ai iawn ef sydd ddigonol tros bawb, ai ffrwythau ef a gynygir ir naill yn gystal ar llall. Eithr gwir yw, na bu erioed ei amcan na'i fryd ef ar bardynu na chadw neb ar na ddychwelei trwy ffydd ac edifeirwch. Pe gwelsych chwi ef, ai glywed yn wylo ac yn gryddfannu oblegyd cyflwr pobl anufydd, anedifeiriol, *Luc.* 19.41.42. ac yn cwyno rhag eu hystyfnigrwydd hwynt, *Mat.* 23. 27. *Jerusalem, Jerusalem, pa sawl gwaith y mynnaswn gasclu dy blant ynghyd, megis y cascl iâr ei chywion tan ei hadenydd ac nis mynnech?* neu pe

gwel-

gwelſych ef ai glywed ar y groes yn gweddio tros ei erlidwyr [*O Dâd maddeu iddynt, canys nis gwyddant beth y maent yn ei wneuthur*] a faſech chwi yn tybied ei fod ef yn ymhyfrydu ym marwolaeth yr annuwiol, ie y ſawl ydynt golledig trwy eu gwirfodd anghrediniaeth? Pan ddarfu i Dduw felly garu (*nid caru yn unig, ond felly caru*) *y býd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig fáb, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef* (trwy ffydd effeithiawl) onid caffael o honaw fywyd tragwyddol, mi a dybygwn wrth hyn ddarfod iddo ef brofi yn erbyn enllib dynion a chythreiliaid, nad yw efe yn ymhoffi ym marwolaeth yr annuwiol, ond yn hytrach ar iddynt Droi a Byw.

6. Yn olaf, os hyn oll ni fodlona mhonoch etto, cymerwch ei Air ef, yr hwn yn oreu a ŵyr ei feddwl ei hun, neu or hyn lleiaf coeliwch ei lw ef: Eithr hyn ſydd yn ſy arwain at y bedwaredd Athrawiaeth.

Athr.

Athr. 4. YR *Arglwydd a ſiccrhaodd i ni trwy ei lw, nad yw efe yn ymhoffi ym marwolaeth yr annuwiol, ond ar iddo Droi a Byw; fel y gallai efe adel dyn heb eſcus yn y byd i ammau y gwirionedd o hynny.*

OS meiddiwch chwi ammau ei air, gobeithio na lefeſwch chwi ammau moi lw ef. Megis ac y darfu i Griſt yn ddifrif-ddwys dyſtiolaethu na ddichon y di-adgenhedledig a'r annychweledig ſyned i mewn i deyrnas nefoedd *Mat.* 18. 3. *Jo.* 3. 3. Felly y tyngodd Duw nad yw efe yn ymhoffi yn eu marwolaeth hwynt ond yn eu Troedigaeth ai Bywyd. Ac megis y dywaid yr Apoſtl· *Heb.* 6. 13, 16, 17. 18. *Oblegid na allei dyngu i neb oedd fwy, medd efe, fel mai byw fi,* &c. *Canys dynion yn wir ſydd yn tyngu i un a fo mwy; a llw er ſiccrwydd ſydd derfyn iddynt ar bob ymryſon: yn yr hyn, Duw yn ewyllyſio yn helaethach ddangos i etifeddion yr addewid ddianwadalwch ei gyngor ef, a gyfryngodd trwi lw: fel trwy ddau beth dianwadal, yn y rhai yr oedd yn ammhoſſibl i Dduw fod yn gelwyddog, y gallem ni gael cyſſur crŷf, y rhai a ffoeſom i gymmeryd gafael yn y gobaith a oſodwyd o'n blaen, yr hwn ſydd gennym ni megis

*gis angor yr enaid, yn ddiogel ac yn ſiccr.* Os oes neb ar na ſedr ddwyn y gwirionedd yma i gytuno ag Athrawiaeth Rhag-ordinhâd, neu weithredawl ddamnedigaeth yr annuwiol, y mae hynny yn digwyddo trwy ei anwybodaeth ei hunan: Nid oes gan hynny gantho ddim eſcus gwedi i ado i wadu neu i ammau gwirionedd y pwngc ſydd mewn llaw: Canys hyn a ſiccrhawydd trwy lw Duw, ac am hynny ni ddylid moi ŵyr-dynny iw ddwyn at byngciau eraill; Eithr pyngciau ammheus ſydd raid i dwyn yn hytrach atto ef, ac y mae yn rhaid credu fod ſiccr wirioneddau yn cytuno ag ef, er nad eill ein menyddiau beiſion ni ond prin ddirnad y cytuneb.

---

# Defnydd.

YR wyfi yn awr yn attolwg iti yr hwn wyt bechadur annychweledic ar a wyt yn clywed y geiriau hyn, ar i ti ſyſyrio ychydic ar yr Athrawiaethau a grybwyllwyd or blaen; ath yſtyried dy hun tros encyd, pwy yw yr hwn ſydd yn ymhyfrydu yn dy bechod ath ddamnedigaeth? Diammau nad Duw: Efe oi ran ei hun a dyngodd nad yw yn ymhoffi yntho. Ac mi a wn nad rhyngu bôdd iddo ef yr ydych chwithau yn i ſwriadu wrth hynny. Ni leſeſwch chwi ddywedyd, eich bod

bod yn yfed ac yn tyngu, ac yn esceuluso dyledswyddau sanctaidd, ac yn diffoddyd cynhyrfiadau yr Yspryd, i ryngu bôdd Duw: Hynny oedd cymmaint a phe cablech chwi y Tywysog, a thorri ei gyfreithiau,a cheisio ei lâdd, a dywedyd wneuthur o honoch hyn oll i ryngu bodd iddo.

Pwy gan hynny sydd yn ymhoffi yn eich pechod ach marwolaeth? Nid oes neb ar sy 'n dwyn delw Dduw arno: Am fod yn rhaid iddynt hwy fod or un feddwl ag ef. Fe ai gwyr Duw nad yw ond plefer bychan ich Athrawon ffyddlon, eich gweled yn gwasanaethu eich gelyn marwol, ac ynfyd anturio eith cyflwr tragwyddol, a rhedeg yn wallgofus i fflammau Uffern. Nid oes ond plefer bychan iddynt hwy weled ar eich eneidi-diau (yn yr effeithiau gerwin) y cyfryw ddallineb, a chalon-gledwch, a diofalwch, a rhyfyg, y cyfryw ystyfnigrwydd mewn drygioni, y cyfryw ddrwg athrylith, a chyndynrwydd yn erbyn ffyrdd bywyd a heddwch. Hwy a wyddant mai nodau angau a digofaint Duw yw y rhai hyn,ac hwy a wyddant allan o Air Duw, pa ddiben sydd debyg i ddyfod iddynt: Ac am hynny nid yw hoffach o ronyn ganthynt hwy nâ chan Physygwr tyner weled nodau 'r pla yn torri allan ar y clâf. Och ni i ragweled eich poenydiau tragwyddol, ac nas gwyddom pa fodd iw rhagflaenu! gweled negosed ydych at Uffern, ac na fedrwn beri i chwi ei goelio, nai ystyried!

gwe-

led hawſed, a ſiccred y gellych ddiaingc, pe gwyddem pâ ſod ich gwneuthur yn ewyllyſgar! decced ydych am iechydwriaeth dragwyddol, pe gwnaech ond Troi a gwneuthur eich gorau, ai wneuthur yn oſal a gorchwyl eich einioes! Eithr nis gwnewch chwi mhono;. pettau am ein heinioes, ni ſedrwn ni moch perſwadio iddo. Aſtudio yr ydym ddydd a nôs beth i ddywedyd wrthych, ar a allo eich argyoeddi a'ch perſwadio, ac etto mae heb ei wneuthur. Yr ydym ni yn goſod gair Duw gar eich bronnau, ac yn dangos i chwi hyd yn oed y bennod ar adnod lle mae 'n ſcrifennedic, nas gellwch fôd yn gadwedic oddieithr i chwi ddychwelyd; Ac er hyn yr ydym ni yn gadael y rhan fwyaf o honoch fel y cowſom chwi: Gobeithio yr ydym y credwch Air Duw er na credoch mo'n Gair ni; ac y gwnewch gyfrif o hono pan dangoſom i chwi ſcrythur eglur am dano: Ond yr ydym yn gobeithio yn ofer, ac yn llafurio yn ofer, o ran un iachawl gyfnewidiad ar eich calonnau. Ac a ydych chwi yn tybied fôd hyn yn beth hyfryd gennym ni? Llawer gwaith y gorfydd arnom mewn gweddi ddirgel gwyno wrth Dduw â chalonnau trymion. [*Och Arglwydd, ni a lefaraſom wrthynt yn dy enw, eithr ni wnaethant gyfrif o honom; mynegaſom iddynt yr hyn yr wyt ti yn ei beri i ni fynegi iddynt ynghylch embydrwydd ſtât annychweledic, ond ni choeliant mhonom ni. Ni a fynegaſom iddynt ddarfod*

*i ti dyſtiolaethu; nad oes heddwch ir annuwiol,* Eſay. 57. 21. *Eithr prin y coelia y gwaethaf o honynt oll eu bod yn annuwiol. Nyni a ddangoſaſom dy Air lle y dywedaiſt, os byw fyddant yn ôl y cnawd, meirw a fyddant,* Rhuf. 8. 13. *Ond maent yn dywedyd y credant ynot, pan na choeliant mhonot; ac yr ymddiriedant ynot, pryd na roddant goel ar dy Air; a'r pryd y bont yn gobeithio nad yw bygythion dy air yn wir, er hynny hwy a alwant hyn gobeithio yn Nuw: Ac er i ni ddangos iddynt pa le y dywedaiſt, pan fyddo marw dyn drygionus, fe a ddarfu am ei holl obaith ef: etto ni fedrwn ni moi perſwadio oddiwrth eu gobaith twyllodrus,* Dih. 11. 7. *Yr ydym ni yn mynegi iddynt pa wael-beth anfuddiol yw pechod; eithr maent hwy yn ei hoffi, ac am hynny nis ymadawant ag ef. Yr ydym ni yn mynegi iddynt ddrytted y maent yn prynnu eu pleſer yma; a pha dâl ſydd yn rhaid iddynt roddi am dano mewn poenydd tragywyddol; ac hwy a ymfenditiant eu hunain, ac ni choeliant mhono, ond a wnânt megis ac y gwna y rhan fwyaf, ac o herwydd bôd Duw 'n drugarog, ni chredant mhono, ond a anturiant eu heneidiau, doed a ddelo: yr ydym ni yn mynegi iddynt barotted yw 'r Arglwydd iw derbyn, ac nid yw hyn ond peri iddynt oedi eu hedifeirwch a bod yn hyfach yn eu pechod. Rhai o honynt a ddywedant fod yn eu brŷd edifarhau, Eithr maent fyth yr un ffunud: a rhai a ddywedant, iddynt edifarhau yn barod, prŷd nad*

*ydynt etto gwedi dychwelyd oddiwrth eu pechodau. Yr ydym ni yn eu cynghori, yr ydym yn ymymbil a hwynt, yr ydym yn cynnyg iddynt ein cynhorthwy; ond nid ydym ni yn tycio. Eithr y ſawl oeddynt feddwon ydynt feddwon etto, a'r rhai oeddynt nwyfus gnawdol fedd-faeth, ydynt felly etto; a'r rhai oeddynt fydol, ydynt fydol etto; a'r rhai oeddynt anwybodus a beilchion, ac yn tybied yn dda o honynt eu hunain, ydynt felly fyth. Nid oes nemawr o honynt a genfydd ac a gyfaddau eu pechod; a llai a ymwrthyd ag ef, ond ai cyſſurant eu hunain fod pawb yn bechaduriad, fel pettau heb ddim rhagor rhwng y pechadur dychweledic a'r annychweledic. Rhai o honynt ni ddônt yn ein cyfyl pan ydym ni yn ewyllyſgar iw dyſcu hwynt, ond tybied y maent y gwyddant ddigon yn barod, ac nad rhaid iddynt wrth ein haddyſc; a rhai o honynt a'n gwrandawant ac a wnânt eu meddwl; a'r rhan fwyaf o honynt ſydd megis dynion meirwon dideimlad; fel pan fynegom iddynt bethau o berthynas tragywyddol, ni fena gair o hynny ar eu calonnau hwynt. Onid ufyddhawn ni iddynt, a phorthi eu mwmpwy, yn bedyddio plant y rhai annuwiol cyndynnaf o honynt, rhoddi iddynt ſwpper yr Arglwydd, a gwneuthur cymmaint oll ar a fynont, er maint a fytho yn erbyn gair Duw, hwy an caſant, ac an difenwant: Ond os dymunwn ni arnynt gyffeſu eu pechodau, ac ymwrthod â hwynt, ac achub eu heneidiau, nis gwnânt ddim o hynny. Yr ydym ni yn dywedyd*

*wrthynt*

*wrthynt os gwnânt ond troi, na naccawn ni mhonynt o un o ordinhadau Duw, nac o'r Bedydd iw plant, nac o swpper yr Arglwydd iddynt hwythau, eithr ni wrandawant mhonom. Hwy a fynnent i ni anufyddhau i Dduw, a damnio ein eneidiau i ryngu bodd iddynt hwy; ac etto ni throant a chadw eu heneidiau eu hunain i ryngu bodd Duw. Maent yn ddoethach yn eu golwg eu hunain nâi hathrawon; gwallgofi y maent, ac yn hyderus yn eu ffyrdd eu hunain, ac er a wnelom, ni fedrwn ni moi newid. Arglwydd, hwn yw cyflwr ein cymydogion truenus; ac nis gallwn ni wrtho: Ni ai gwelwn hwynt ymron diferu i uffern, ac nis gallwn ni wrtho: Ni a wyddom pe troent hwy yn ddiffuant, y gallent fod yn gadwedic, eithr ni fedrwn ni moi perswadio: Pettym ni yn ei erfyn ganthynt ar ein gliniau, ni fedrem moi hannog iw wneuthur. Pettym yn ei erfyn ganthynt trwy ddagrau, ni fedrem moi hannog, a pha beth a allem ni ei wneuthur yn ychwaneg?*

Y rhai'n yw'r cwynion a'r gruddfannau y gorfydd ar lawer Gwenidog truan eu gwneuthur. Ac a ydych chwi yn tybied fôd gantho efe ddim pleser yn hyn? *Ai pleser iddo* efe eich gweled yn myned ym mlaen mewn pechod, ac nad allo moch attal? eich gweled mor druein ac nad allo cymmaint a'ch gwneuthur yn deimladwy o hono? Eich gweled yn llawen, pryd nad ydych siccr o fôd ûn awr allan o Uffern? feddwl beth sydd raid

i'wch

iwch ddioddef dros fyth, o herwydd na throwch? A meddwl pa fywyd tragwyddol o ogoniant a ddirmygwch chwi yn waedwyllt ac a fwriwch ymaith? Pa beth drymmach a ellwch chwi ddwyn iw calonnau, a pha wedd y dychmygwch fôdd iw triftau yn fwy?

Pwy gan hynny yr ydych chwi yn ei fodd-hau trwy eich pechod a'ch marwolaeth? Nid neb o'ch cyfeillion Duwiol deallus: Och, och! mae 'n ofid ar eu heneidiau hwynt weled eich trueni, a llawer gwaith y maent yn galaru drofoch, pan nad oes gennych fawr ddiolch iddynt am hynny, a phan nad oes gennych galonnau i alaru eich hunain.

Pwy gan hynny fydd yn ymhyfrydu yn eich pechod? Neb ond tri gelyn mawrion Duw; y rhai yr ymwrthodafoch â hwynt yn eich Bedydd, ac y troefoch yn awr yn fradwrus iw gwafaneuthu. Y Cythrel yn ddiau fydd yn ymhyfrydu yn eich pechod ach marwolaeth: Cans hyn yw gwir ddiben ei holl brofedigaethau ef. O herwydd er mwyn hyn y mae efe yn gwilio nôs a dydd: ni ellwch chwi feddwl am fodd i ryngu bôdd iddo 'n well, nâ myned rhagoch yn y pechod: Lawened yw pan welo di yn myned ir dafarn i feddwi, neu at ryw bechod arall, ath glywed yn rhegu, neu yn tyngu, neu ddifenwi? Lawened yw pan glywo efe di yn difenwi y Gwenidog a geifiai dy dynnu oddiwrth dy bechod ath

ath gynnorthwyo ith gadw dy hun ? hyn yw ei ddyfyrwch ef.

2. Yr annuwiol nhwythau a ymhyfrydant yntho, am ei fod yn cytuno á'i naturiaeth hwynt.

3. Ond myfi a wn er hyn ei gyd, nad ydych yn bwriadu rhyngu bôdd ir Cythrel, pan ydych yn rhyngu ei fôdd: eithr eich Cnawd eich hun, y gelyn mwyaf a pheryccláf, yr ych yn bwriadu rhyngu bôdd iddo. Y Cnawd yw efe, yr hwn a fynnei ei dacclu, a phorthi mwythau iddo mewn bwyd, diod, a dillad; a fynnei ei foddhau yn eich cyfeillach, ai foddhau mewn mawl a bri gydâ 'r byd; ai foddhau mewn chwaryddiaeth, trythyllwch, a feguryd: Hwn yw 'r llyngc-lyn fy'n llyngcu 'r cwbl. Hwn yw'r Duw yr ydych yn ei wafaneuthu (Canys yr yfcrythur a ddywaid am y cyfryw, mai eu Duwiau yw eu Boliau) *Phil.* 3.18.

Eithr attolwg iwch aros ychydig ac yftyried y peth.

1. *Holiad.* A ddylae eich Crawd gael ei fodloni o flaen eich Gwneuthurwr? A anfodlonwch chwi yr Arglwydd, ac a anfodlonwch chwi eich Athrawon, eich cyfeillion Duwiol, ac oll i fodloni eich chwantau anifeiliaidd a'ch dymuniadau anianawl? Ai nid yw Duw yn deilwng o fod yn Rheolwr ar eich cnawd? Oni chaiff ef ei reoli ef, ni cheidw efe mhono: ni ellwch chwi gydâ rhefwm ddifgwyl iddo ei wneuthur.

2. *Ho*

2 *Ho*, Mae eich cnawd yn ſodlon i'ch pechod : eithr a yw eich cydwybod ſodlon? Onid yw hi yn grwgnach och mewn, ac yn dywedyd i chwi weithiau nad yw pob peth yn dda, ac nad yw 'ch cyflwr mor ddiogel ac y dangoſwch ei fôd? Ac oni ddylei eich eneidiau ach cydwybodau gael eu bodloni o flaen y cnawd llygredic yna.

3. *Hol*, Eithr onid ydyw eich cnawd yn darparu hefyd iw anfodlondeb ei hun? Mae efe yn caru yr abwyd neu 'r bait, eithr a yw dda gantho y bâch? Mae 'n caru y ddiod gadarn a'r tameidiau meluſion; mae 'n caru ei eſmwythdra, ai chwareyddiaeth, ai loddeſt; mae 'n hoff gantho fôd yn oludog, a chael gan ddynion ddywedyd yn dda am dano, a bôd yn rhyw un yn y byd. Eithr a yw efe yn caru Melltith Dduw? A yw hoff gantho dan grynnu ſefyll gar bron ei frawdle ef, a chael ei farnu i dân tragwyddol? A yw hôff gantho ei boeni bŷth bythoedd gydâ 'r Cythreiliaid? Cymerwch y cwbl ynghyd, canys nid oes gwahanu rhwng pechod ac Uffern, ond yn unig trwy ffydd a chywir ddychwelaid. Os cedwch chwi y naill, mae 'n rhaid i chwi gael y llall. Os yw marwolaeth ac vffern yn hyfryd genych, yno nid rhyfedd os ewch ym'aen mewn pechod : eithr onid ydynt, fel y mae yn ſiccr gennyf nad ydynt: yno beth er hyfryded y pechod, a yw efe yn talu cymaint a'r golled o fywyd tragwyddol? A yw ychydic ddiod, neu fwyd, neu eſmwythdra

thdra, a yw têg eiriau pechaduriaid, a yw golud y byd hwn iw brisio uwch law llawenydd nefoedd? neu a dalant hwy ddioddef tân tragywydol? hawyr, fe ddylid ystyried y Cwestiwnau hyn, gan bob dyn ar sydd a rheswm gantho i ystyried; ac sydd yn credu fod gantho enaid iw gadw neu iw golli, cyn i chwi fyned ddim pellach.

Wele mae 'r Arglwydd yn hyn o fan yn tyngu nad ydyw ef yn ymhoffi yn eich marwolaeth, ond yn hytrach ar i chwi Droi a Byw: Os ymlaen yr ewch chwi er hyn, a marw yn hytrach na throi, Cofiwch na wnaethoch mo hynny i ryngu bôdd Duw: hynny a fu i fodloni 'r byd, ac ich bodloni eich hunain. Ac os dynion ai damnia eu hunain iw bodloni eu hunain, ac a redant i boenydiau didrangc o ran difyrrwch, ac nid oes ganthynt y synwyr, y calonnau, y Grâs i wrando ar Dduw neu ddyn ar a chwennychei eu galw hwynt yn ôl, pa help sydd ond rhaid yw iddynt dderbyn yr hyn y maent yn ei ynnill trwy hynny; ac edifarhau am dano mewn môdd arall pan fytho i'yn rhyhwyr. Cyn i mi fyned ddim pellach yn y cymhwysiad o hyn, mi a âf at yr Athrawiaeth nesaf, yr hon sy 'n rhoddi i mi arddel gyflownach o'r peth.

Athr. 5.

Athr. 5. M*Ae Duw mor daer am droedigaeth pechaduriaid, ai fod ef yn dygn ddyblu ei eirchion ai gynghorion, Trowch chwi, Trowch chwi, pa ham y byddwch feirw?*

YR Athrawiaeth hon yw 'r Cymhwysiad o'r hon o'r blaen, megis defnydd o Gyngor; ac yn ôl hynny y trinaf hi. A oes un pechadur annychweledic ar sy'n clywed y dygn eiriau hyn or eiddo Duw? A oes na gwr, na gwraig yn y gymanfa hon, ar sydd etto yn estronol i waith yr Yspryd Glân yn adnewyddu ac yn sancteiddio? (Mae hi yn Gymanfa ddedwydd onid yw hi felly gyda'r rhan fwyaf.) Ergl wch gan hynny lais eich Gwneuthurwr, a throwch atto ef trwy Grist yn ddi-ymaros. A fynnech chwi wybod ewyllys Duw? Och! hyn yw ei ewyllys ef ar i chwi droi yn ebrwydd. A gaiff y Duw byw anfon cennadwri cyn daered at ei greaduriaid, ac oni ddylaent hwythau vfyddhau? Clywch gan hynny chwi oll ar sy 'n byw yn ôl y cnawd: yr Arglwydd yr hwn a roddes i ti dy anadl a'th fodedigaeth, a anfonodd attat gennadwri o'r nefoedd; a hon yw ei gennadwri ef, [*Dychwelwch, dychwelwch, pa ham y byddwch feirw?*] Yr hwn sydd gantho glustiau i wrando gwrandawed, A gaiff llefer-ydd y Mawrhydi tragwyddol ei esceulufo?

Pettau

Pettau efe ond taranu yn ofnadwy, tydi a arſwyddit? Ah mae y llais yma yn perthyn yn nes i ti. Pettau efe ond dywedyd wrthyt ti a fyddi marw y foru, ni chymerit mo hynny mewn yſgafnder. *Ah! ond mae 'r gair hwn yn perthyn ith fywyd neu ith farwolaeth dragywyddol. Mae efe yn orchymyn ac yn gyngor hefyd, fal pe dywedaſei wrthyt, [Yr wyfi yn gorchmyn i ti, ar yr ufydd-dod ſydd ddyledus arnat i mi dy Greawdwr ath Bryniawdwr, ar i ti ymwrthod â'r cnawd, y byd, a'r cythrel, a dychwelyd attafi fel y gellych fyw. rwyfi yn ymoſtwng i ymbil â thi, fal yr wyt ti naill ai yn caru ai yn ofni yr hwn ath wnaeth; fal yr wyt yn caru dy fywyd dy hun, ſef dy fywyd tragywyddol, Tro a bydd fyw: cyn gyplaed ac y mynnit ddiaingc i hag trueni tragywyddol, Dychwel, dychwel, pa ham y byddi farw?* ] Ac a oes galon mewn dyn, mewn creadur rheſymmol, a fedr unwaith wrthod y fâth gennadwri, y fath orchymyn, y fath gyngor a hwn? Oh pa beth gan hynny yw calon dyn!

Clywch gan hynny bawb ar ſy'n eu caru eu hunain, a phawb ar ſydd yn gwneuthur cyfri oi hiechydwriaeth eu hunain. Dyma 'r gennadwri lawenaf a anfonwyd erioed i gluſtiau dyn. *Dychwelwch, dychwelwch, pa ham y byddwch feirw?* Ni chaewyd chwi etto i fynu tan anobaith. Dyma gynnyg trugaredd i chwi, Dychwelwch a chwi ai cewch. Ah eneidiau! â pha galonnau llon llawenychych y dylaech

laech dderbyn y newyddion hyn. Mi a wn nad dyma 'r waith gyntaf y clywsoch hwynt; ond pa gyfrif a wnaethoch chwi o honynt? neu pa gyfrif a wnewch yr awr hon? Chwi oll bechaduriaid anwybodus diofal, gwrandewch Air yr Arglwydd! Gwrandewch chwithau oll wŷr bydol, chwy-chwi rai cnawdol aniawnawl; Chwithau 'r glythion, a'r meddwon, a'r putteinwyr, a'r tyngwyr; Chwithau ddifenwyr a hustyngwyr, enllibwyr a chelwyddwyr; *Dychwelwch, dychwelwch, pa ham y byddwch feirw?*

Clywch chwi oll broffeswyr oerion ac o'r tu allan, a phawb ar sydd estroniaid i fuchedd Grist, ac nid adnabuoch erioed rym ei groes ef ai adgyfodiad, ac ni chlywsoch erioed eich calonnau yn cynhesu gan ei fawr gariad ef, ac nid ydych yn byw arno megis nerth eich eneidiau, *Dychwelwch, dychwelwch, pa ham y byddwch feirw?*

Gwrandewch oll rai gweigion o gariad Duw, y rhai nid yw eu calonnau tu ac atto ef, nac yn ymserchu ar obaith y gogoniant tragwyddol, ond yn gwneuthur mwy cyfrif o'ch llwyddiant ach difyrrwch daiarol nag o Lawennyd Nef; Chwy-chwi oll ar nad ydych ond brith-grefyddol ar ddamwain, ac ni roddwch ddim ychwaneg i Dduw nac a allo 'r cnawd ei hepcor; ar nad ymwadasoch ach hunain gnawdol, ac nid ymwrthodasoch â chwbl oll ar sydd gennych er mwyn Crist, ynghyfrifiad a sefydlog fwriad eich eneidiau,

 ond

ond bôd rhyw un peth yn y byd mor anwyl gennych, nas galloch moi hepcor i Grist, er iddo ei ofyn, eithr yn hytrach a anturiwch ei sorriant ef, nac yr ymadawoch â'r peth; *Dychwelwch, dychwelwch, pa ham y byddwch feirw?*

*Oni chlywsoch, ac onid ystyriasoch* eusus, cofiwch ei fynegi ef i chwi y dydd heddyw allan o Air Duw, os gwnewch chwi ond Troi y gellwch fyw, ac oni throwch, gan feirw y byddwch feirw.

Hawyr pa beth weithian a wnewch chwi! Pa beth sydd yn eich brŷd? A drowch chwi ai peidio? Na chloffwch ymhellach rhwng dwy opiniwn: Os yr Arglwydd sydd Dduw canlynwch ef: Os eich cnawd sydd Dduw yna gwasaneuthwch ef etto. Os yw 'r nefoedd yn well nâ 'r ddaiar a'r difyrrwch cnawdol, deuwch ymaith gan hynny a cheisiwch wlâd well, a thrysorwch iwch drysor lle nid oes na rhwd na gwyfyn yn llygru, ac nad eill lladron gloddio trwodd a lledratta, a deffrowch ar y diwedd â'ch holl allu, i geisio y deyrnas ddisigl, *Heb.* 12. 28. ac i osod eich einioes ar amcan a fo uwch, a throi ffrwd eich gofalon a'ch llafur ar amgenach ffordd nac y gwnaethoch o'r blaen. Eithr os yw 'r ddaiar yn well nâ'r nefoedd, neu os gwna hi fwy eroch, neu barhau yn hwy i chwi, yna cedwch hi, a gwnewch eich goreu o honi, a chanlynwch hi yn wastadol. Hawyr, a ddarfu i chwi ymroi beth iw wneuthur?

Onid

Onid do, mi a osodaf ychydig o ystyriae-thau annogaethawl ymhellach gar eich bronnau, i edrych a bair rheswn i chwi ymroi.

Ystyriwch yn gyntaf, pa baratoâd a wnaeth *trugaredd ich iechydwriaeth ?* A pha dosturi yw bôd neb yn ddamnedic gwedi hyn ei gyd. Fe fu yr amser pan oedd y cleddau fflamllyd ar y ffordd, ac y cadwasei felltith cyfraith Dduw di yn ôl, er ewyllysgared fuasit i droi at Dduw : fe fu 'r amser pryd na allesit ti dy hunan, na'r holl gyfeillion ar a feddit yn y byd, byth gael i ti bardwn am dy bechodau a aethant heibio, er maint a alaresit ac a wellheisit arnynt. Eithr Crist a symudodd y rhwystr yma trwy bridwerth ei waed. Fe fu 'r amser pan oedd Duw yn anghymodlon hollawl, megis heb ei fodloni am droseddu ei gyfraith : Eithr yn awr y mae efe gwedi ei fodloni a chymodi cymmhelled, a gwneuthur o hono ef i ti hyrâd Act o Ebargofiad, a hyrad rôdd weithred a chynnyg o Grist a bywyd, ac y mae ef yn ymbil arnat am ei dderbyn, ac fe all fod yn eiddot os mynni. *Canys yr oedd efe yn Grist, yn cymmodi y byd ag ef ei hun: ac y mae gwedi gosod ynom ni air y cymmod yn weithredawl,* 2 *Cor.* 5. 18, 19. Bechaduriaid, fe orchymynnir inni wneuthur y Gennadwri hon attoch chwi oll, megis oddiwrth yr Arglwydd, [*Deuwch, canys y mae pob beth yn barod*] *Luc.* 14, 17. *Ydyw pob*

*peth yn barod ? a chwithau yn ambarod ?* Mae Duw yn barod ich croesawu, ac i bardynu i chwi cymmaint ac a wnaethoch iw erbyn, os gwnewch chwi ond dywad er cŷd y pechasoch, er mor wyllt-ffôl y pechasoch, er echrysloned y pechasoch, mae efe er hynny yn barod i fwrw y cwbl or tu cefn, os chwi a ddaw. Er i chwi fod yn Afradlonwyr, a rhedeg ymmaith oddiwrth Dduw, ac aros cyhyd, mae efe yn barod i'ch cyfarfod, a'ch cofleidio yn ei freichiau, a llawenychu yn eich dychweliad, os gwnewch chwi ond troi. Geill hyd yn oed y bydolddyn daiarol, a'r meddwyn mochaidd, gael Duw yn barod iw croesawu, os hwy a ddeuant. Onid yw hyn yn troi dy galon o'th fewn ? O bechadur, os oes gennyt galon o gig, ac nid o gareg ynot, myfi a dybygwn y toddai hyn hi. A orfydd ar anfeidrol fawredd ofnadwy y nefoedd ddisgwyl am dy ddychweliad, a bod yn barod ith dderbyn di, yr hwn ai amherchaist ef ac ai anghofiaist cyhyd ? A gaiff efe ymhyfrydu yn dy droedigaeth, ar a allei ogoneddu ei gyfiawnder yn dy ddamnedigaeth, ac onid yw hyn etto yn toddi dy galon oth fewn, ac onid wyt ti etto yn barod i ddyfod i mewn? Onid oes i ti cymmaint rheswm i fod yn barod i ddyfod, ac i Dduw ith wahodd ath groesawu.

Eithr nid hynny yw'r cwbl : gwnaeth Crist ei ran ar y groes, ac a wnaeth i ti y cyfryw

ffordd

ffordd at y Tâd, fal y gellych oi ran ef gael groeso, os tydi a ddoi. *Ac onid wyt ti barod etto ?*

Mae pardwn yn barod, wedi ei ganhiadu ai gynnyg yn eglur i ti yn yr Efengyl. *Ac etto a wyt ti yn amharod ?*

Mae Gwenidogion yr Efengyl yn barod ith gynnorthwyo, ith addyscu, ac i adrodd geiriau gollyngdod o dangnheddyf ith enaid; Maent hwy yn barod i weddio drosot, ac i selio i fynu dy bardwn trwy Administriad ei sanctaidd Sacrament. *Ac onid wyt ti barod etto ?*

Mae pawb ar y sydd oth amgylch yn ofni Duw yn barod i lawenychu yn dy droedigaeth, ac ith dderbyn i Gymun y Saint, ac i roddi i ti ddeheulaw cymdeithas, ie, pe rhôn ath fod yn un a fwriesid allan oi cymdeithas hwynt. Ni lefasant na faddeuont lle maddeuo Duw, pan ei gwelont yn eglur wrth dy gyffes ath wellhâd. Ni feiddiant cymmaint a dannod i ti dy bechodau o'r blaen, canys hwy a wyddant na edliw Duw mhonynt iti. Er maint oedd dy ogan pettit ti ond dychwelyd o'r galon a dyfod i mewn, ni wrthodent mhonot, dyweded y byd a fynno yn erbyn hynny. A yw y rhain nhwythau oll yn barod ith dderbyn, *ac a wyt ti etto yn amharod i ddyfod i mewn ?*

Ie, mae 'r nefoedd ei hun yn barod; yr Arglwydd ath dderbyn i ogoniant ei Saint,

 er

er ffieiddied anifail a fuoſt, os mynni ond dy lanhau, ti a elli gaffael lle gar bron ei orſeddfaingc ef. Ei Angylion ef a fyddant parod i gan-hebrwng dy enaid i ſangref llawenydd, os gwnei di ond dyfod i mewn yn ddiffuant. A ydyw Duw yntau yn barod, ac *Aberth Criſt yn barod*, yr addewid yn barod, a phardwn yn barod? A ydyw Gweinidogion yn barod, a phobl Dduw yn barod, a'r nefoedd hitheu yn barod, ac Angelion yn barod, a'r rhai hyn oll yn diſgwil am dy droedigaeth; *ac etto a wyt ti yn amharod?* Pa beth amharod i fyw, a thithau gwedi bôd cyhyd yn farw? Amharod i ddyfod ith iawn bwyll (fal y dywedir fôd y mab afradlon yn dyfod atto ei hun *Luc*. 15. 17.) pan wyt wedi bod cyhyd allan oth bwyll? Amharod i fôd yn gadwedic, pan wyt ymron parod i fôd yn ddamnedic? Ai nid ydwyt ti barod i gymeryd gafael ar Griſt, yr hwn a fynnei dy waredu di, pan ydwyt ti yn *barod i foddi a ſuddo i ddamnedigaeth?* Ai nid wyt ti barod ith achub rhag Uffern, pan wyt ti yn barod ith fwrw iddi yn ddiymwared? Och ddyn! a wyddoſt ti beth yr wyt yn ei wneuthur? Os byddi farw yn annychweledic, nid oes le i ammau am dy ddamnedigaeth: Ac nid oes gennyt ſiccrwydd o fyw un awr: *ac etto a wyt ti heb fod yn barod i droi ac i ddyfod i mewn?* Och o druan greſynol! Oni waſaneuthaiſt di y cnawd ar Cythrael yn ddigon ei hyd? Ac ni chefaiſt ti moth wala o bechod etto? A yw efe cyſtall gen-

gennit, neu mor ſuddiol itti? A wyddoſt di pa beth yw pechod pan y mynnyt ti etto ychwaneg a hono ef? A gefaiſt di cynifer galwad, a chynifer o drugareddau, a chynifer o gernodiau, a chynifer o ecſamplau? A welaiſt ti cynifer wedi eu rhoi yn y bedd, *ac etto wyt ti yn* amharod i ymadel â'th bechodau, ac i ddyfod at Griſt? Pa beth! yn ol cynifer o argyoeddion, ac o wewyr cydwybod! yn ôl cynifer o ſwriadau ac addewidion, *a wyt ti etto heb fod yn barod i droi a byw*? Oh na byddei dy lygaid, ath galon wedi ei hagoryd i wybod decced cynnyg a weneir i ti yn awr, a llawened cennadwri yn danfonwyd ni arni, ith wahodd di i ddyfod: Canys mae pob peth yn barod.

2. Yſtyria pa Wahoddion a gefaiſt i Droi a Byw: Pa nifer, mor grôch, ddifrifed, mor ofnadwy; ac etto pa wahoddion llawen cyſurus.

Canys y Pen-gwahoddwr yw Duw ei hun. Yr hwn ſydd yn llywodraethu 'r nefoedd ar ddaiar, ſydd yn gorchymyn i ti Droi, a throi yn ebrwyd heb oedi: Mae efe yn gorchymyn ir Haul redeg ei yrfa, a chyfodi arnat bob borau; Ac er iddo fod yn greadur mor ogoneddus, a llawer gwaith mwy nâ'r holl ddaiar, er hynny mae yn vfydhau iddo, ac heb ballu munudyn oi amſer goſodedic. Mae efe yn gorchymyn i holl blanedau a ſêr y nefoedd, hwythau a vfyddhant.

Mae efe yn gorchymyn ir môr lenwi a threio, ac ir holl Greadwriaeth gadw ei drefn, a'r cwbl a vfyddhant iddo. Angylion nef a vfyddhant iw ewyllys, pan anfono efe hwynt i weinidogaethu ir cyfryw bryfed gwirion a ni ar y ddaiar, *Heb.* 1. 14. Ac er hyn os gorchymyn efe ond i bechadur Droi, nid vfyddhâ efe iddo. Efe yn unig sydd yn ei dybied ei hun yn ddoethach nâ Duw. Efe a ymgeccrusa, ac a ymddedlu Ddadl y pechod, ac ni arbed. Os yr Arglwydd holl alluog a adrodd y gair, y nefoedd ac oll sydd ynddi a vfyddhant iddo. Eithr pettau ond galw ar feddwyn allan or dafarn, nid vfyddhaiff efe: neu os geilw efe bechadur bydol, cnawdol, i ymwadu ag efe ei hun, ac i farweiddio y cnawd, ac i osod ei galon ar etifeddiaeth well, nid vfyddhaiff efe.

Pettau gennyt ddim cariad ynot, ti a adnabyddit y llais, ac a ddywedit, *Oh dyma alwad fy 'nhâd, pa fodd y clywaf ar fy 'nghalon an-vfyddhau! Canys defaid Crist a edwyn ac a wrendy ar ei lais ef, ac ai dylynant, ac y mae efe yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol*, *Jo.* 10. 4. Pettau gennyt ddim bywyd a theimlad ysprydol oth fewn, tydi a ddywedit or lleiaf, *Y galwad hwn yw llais ofnadwy Duw, a phwy a lefus anufddhau?* Canys medd y Prophwyd *Amos* 3. 8. *Rhuodd y llew, pwy nid ofna?* Nid ydyw Duw fel dyn i ti ymbepreth a chwarau ag ef. Cofia yr hyn a ddywedodd ef wrth *Paul* yn

ei ddychweliad, *caled iti wingo yn erbyn y symbylau*, *Act.* 9 5. A ei di ymlaen etto a dirmygu ei Air ef, a gwrthwynebu ei Yspryd, a chau dy glust yn erbyn ei Alwad? Pwy a gaiff y gwaethaf o hyn? A wyddost di pwy yr wyt yn anufyddhau iddo, ac â phwy yr ymgynhenni, a pha beth yr wyt yn ei wneuthur? Llawer synhwyrolach ac esmwythach fyddei dy dâsg, ymryson â'r drain, ai mathru âth draed noethion, ai pwyo â'th ddyrnau noethion, neu roddi dy ben yn y tân Llosgadwy. *Na thwyller chwi; ni watworir mo Dduw, Gal.* 6. 7. Pwy bynnag arall a watworir, ni fyn Duw moi watwor. Gwell fyddei i chwi chwarau â'r tân yn eich tô, nag â thân ei lidiowgrwydd llosgadwy ef; *Canys ein Duw ni sydd dân ysol. Heb.* 12. 29. O mor anghymwys o gymmar wyt ti i Dduw! *Peth ofnadwy yw syrthio yn ei ddwylo ef*, *Heb.* 10. 31. Ac am hynny peth ofnadwy yw ymryson ag ef, neu ei wrthwynebu. Fal y cerwch chwi eich eneidiau edrychwch beth a wneloch. Pa beth a ddywedwch os dechrau efe ymddadleu â chwi mewn digofaint? Pa beth a wnewch os cymmer efe chwi unwaith mewn llaw? A ymrysonwch chwi y pryd hynny yn erbyn ei farn ef, fel y gwnewch yn awr yn erbyn ei râs? Medd yr Arglwydd, *Isa.* 27. 4, 5. *Nid oes llidiawgrwydd ynof* (hynny yw, nid yw hoff genni eich dinistrio; yr wyf yn ei wneuthur megis yn anewyllysgar: ond etto) *pwy a osodei fieri a*

*drain yn fy erbyn, mewn rhyfel? myfi a awn trwyddynt, mi ai llofcwn hwynt ynghyd? neu ymafled yn fy nerth i, fel y gwnelo heddwch â mi, ac efe a wna heddwch â mi. Cad anghydwedd yw ir mieri ar foſl ryfela ar tân.*

Megis y gwelwch fal hyn, pwy yw yr hwn ſydd yn eich galw, ac y dylei hynny eich annog i wrando ar ei Alwad a Throi: felly yſtyriwch hefyd, trwy ba offerynau, a mynyched, a difrifed y mae 'n gwneuthur hyn.

1 *Mae gan bob dalen o lyfr bendigedig Duw (fel pettau) lais, ac y mae yn galw o hyd arnat, Trô a bydd fyw, trô neu di a fyddi marw.* Pa ſodd y medri di ei agoryd, a darllain dalen, neu wrando pennod, a bôd heb ddeall fod Duw yn peri i ti Droi?

2. *Hyn yw llais pob Pregeth yr ydwyt yn ei chlywed:* Canys pa beth amgen yw ergyd ac amcan y cwbl, ond ith alw, ath hwylio, ac ymbil arnat am Droi.

3. *Hyn yw llais aml gynnwrf yr Yſpryd,* yr hwn ſydd yn lleſaru y geriau hyn yn ddirgel droſtynt drachefn, ac yn dirio arnat am Droi.

4 *Mae 'n debygol fod hyn weithiau yn llais dy gydwybod dy hun.* Onid yw eglur i ti weithiau nad yw pob peth yn dda gydâ thi? ac onid yw dy gydwydod yn mynegi i ti, mai rhaid iti fod yn ddyn newydd, a chymeryd helynt o newyd, ac yn mynych alw arnat am Droi.

5. *Llais grasusllawn Ecsamplau y Duwiol yw hyn.* Pan gansyddech hwynt yn byw bywyd nefol, ac yn ffo rhag y pechod yr wyt ti yn ei hoffi, mae hyn yn gwbl yn galw arnat i Droi.

6. *Llais Holl weithredoedDuw yw*; cans hwythau ydynt lysrau Duw, yn dyscu iti y wers hon, trwy ddangos i ti ei fawredd, ai ddoethineb, ai ddaioni ef, ath alw i ddal-sulw arnynt, a rhyfeddu oblegyd y Creawdwr, *Psal.* 19. 1, 2. *Y nefoedd sy'yn datcan gogoniant Duw : ar ffurfafen sy yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef. Dydd i ddydd a draetha ymadrodd : a nôs i nôs a ddengys wybodaeth. Pob amser y mae yr haul* yn cyfodi arnat, y mae yn ddyfal alw arnat i Droi, megis pe dywedei ; I ba beth *yr wysi yn ymdeithio ac yn amgylchu y byd oi blegyd, ond i fynegi i ddynion ogoniant eu gwneuthurwr, ac iw goleuo i wneuthur ei waith ef ? Ac a wysi fyth yn dy gael di yn gwneuthur gwaith y pechod, ac yn cyscu dy einioes allan mewn esceulustra ? Deffro di yr hwn wyt yn cyscu, a chyfod oddiwrth y meirw, a Christ a oleua i ti, Eph.* 5 14. *Y nôs a gerddodd ym-mhell, ar dydd a nessaodd, mae hi weithian yn bryd i ni i ddeffroi o gyscu; am hynny bwriwn oddiwrthym weithredoedd y tywyllwch, a gwiscwn arfeu y goleuni ; rhodiwn yn weddus megis wrth liw dydd ; nid mewn cyfeddach a meddwdod ; nid mewn cyd-orwedd ac anlladrwydd ; nid mewn cynnen a chenfigen : Eithr gwiscwch am*

*danoch*

*danoch yr Arglwydd Jesu Grist*, *ac na wnewch ragddarbod tros y cnawd, er mwyn cyflowni ei chwantau ef, Rhuf.* 13. 11, 12, 13, 14. (Y testyn yma oedd y moddion o droedigaeth *Awstin*)

7. *Hyn yw llais pob trugaredd ar sy ar dy helw*, pe medrit ti ond eu clywed ai deall, maent oll yn llefain arnat, Dychwel. I ba ddiben y mae 'r ddaiar yn dy gynnal, ond i geisio ac i wasanaethu yr Arglwydd? Pa ham y mae hi yn cyfrannu iti ei ffrwythau, ond iw wasanaethu ef? Pa ham y dyru yr awyr i ti anadl, ond iw wasanaethu ef? Pa ham y mae yr holl greaduriaid yn dy wasanaethu di âi llafur ac â'i heinioes, ond fel y gellit tithau wasaneuthu eu Harglwydd hwy a thithau? Pa ham y dyru efe i ti amser, ac iechyd, a nerth, ond iw wasanaethu ef? Pa ham y mae gennit fwyd, a diod, a Dillad, ond iw wasanaethu ef? A oes gennit ddim ar nas derbyniaist hwynt, mae 'n rheswm i ti ystyried, gan bwy, i ba ddiben a defnydd y derbyniaist hwynt. A ddarfu i ti erioed weiddi arno ef am gymmorth mewn cyfyngder? Ac oni ddeallaist di y pryd hynny mai dy ran di oedd Troi ai wasanaethu ef os gwaredei efe dydi? Efe a wnaeth ei ran, ac ath arbedodd etto yn hwy, ac ath brofodd di flwyddyn a blwyddyn drachefn, Ac onid wyt ti etto yn troi? Chwi a wyddoch ddammeg y ffigus-bren anffrwythlon, *Luc.* 13. 6, 7, 8, 9. pan ddywedasei yr Arglwydd, *torr ef i lawr*

*lawr, pa ham y mae efe yn diffrwytho y tir?* fe ymbiliwyd ar iddo ei brofi efe etto flwyddyn ymhellach, ac yna oni phrifiai efe yn ffrwythlawn, ei dorri ef i lawr. Mae Crist yn y man hwnnw yn gwneuthur y cymhwysiad ddwywaith drosto, *adn.* 3. *a'r* 5. [*Oddieithr i chwi edifarhau, chwi a ddifethir oll yn yr un modd*] Pa sawl blwyddyn yr edrychodd Duw am ffrwythau o Gariad a Sancteiddrwydd oddiwrthyt, ac ni chafodd ddim? Ac er hynny efe ath arbedodd. Pa sawl gwaith trwy dy wirfodd anwybodaeth, ath ddiofalwch, ath anufydd-dod yr annogaist Gyfiawnder i ddywedyd, *torr ef i lawr, pa ham y mae efe yn diffrwytho y tir?* Ac er hynny fe aeth Trugaredd ar maes, ac Ammynedd a attaliodd y dyrnod marwol o ddamnedigaeth hyd y dydd heddyw; Ped fasei ddeallt wriaeth dyn oth fewn, ti a wybesit fod hyn oll yn galw arnat i Droi. A wyt ti yn tybied y diengi fyth rhag barn Duw? *Neu a wyt ti yn diystyru golud ei ddaioni ef, ai ddioddefgarwch, ai ymaros, heb wybod fod daioni Duw yn dy dywys i edifeirwch? Eithr yn ôl dy galedrwydd, ath galon di-edifeiriol, wyt yn trysori i ti dy hun ddigofaint, erbyn dydd y digofaint, a datcuddiad cyfiawn farn Duw; Yr hwn a dâl i bôb un yn ôl ei weithredoedd,* Rhuf. 2. 3,4,5,6.

8. Heb law hyn, *Lais pob cystydd yw, i Alw arnat, frysio a Throi.* Mae clefyd a

gof

gofid yn llefain am Droi: Ac y mae Tylodi, a cholled am gyfeillion, a phobblagurun o wialen cerydd hefyd yn llefain, am i ti droi: Ac *etto oni wrandewi di ar y Galw?* daeth y rhai'n yn agos attat, ac a wnaethant iti eu clywed; hwy a wnaethant i ti ruddfannu; Ac oni allant wneuthur i ti Droi?

9. Mae hyd yn oed dull dy *Naturiaeth a'th fodedigaeth ei hun yn eiriol am dy ddychweliad. Pa ham y mae Rheswm gennit,* ond i lywodraethu dy gnawd, ac i wasaneuthu dy Arglwydd? Pa ham y mae gennit ti enaid deallus, onid i ddyscu a gwybod ei ewyllys ef ai wneuthur? Pa ham y mae gennit galon oth fewn, a fedr garu, ac ofni, a dymuno, ond fel y gellit ei ofni ef, ai garu, ai ddymuno?

10. *Je dy rwymedigaethau dy hun trwy addewid ir Arglwydd, sy 'n galw arnat i Droi ai wasanaethu ef.* Tydi ath rwymaist dy hun iddo ef trwy gyfammod Bedydd, ac a ymwrthodaist â'r byd, y cnawd, a'r Cythrel: a hyn a gadarnheaist trwy broffes Gristianogawl, ac a'i hadnewyddaist yn y Sacramentau, ac yn amseroedd cystydd: Ac a fydd i ti addaw, ac addunedu, a bôd byth heb gyflowni a throi at Dduw?

Gosod weithian yr holl bethau hyn ynghyd, a gwel beth a ddylei ddigwydd o honynt. Mae yr *Schrythur lan* yn galw arnat i Droi; Mae *Gwenidogion Crist* yn galw arnat i Droi; Mae yr *Yspryd* yn llefain am Droi; Mae dy

*Gyd-*

*Gydwybod* yn llefain am Droi; Mae 'r *Duwiol* trwy Annogaethau ac ecſamplau yn llefain am Droi: Mae yr *holl Fŷd, a'r holl Greaduriaid* oi ſewn, y rhai a gyflwynwyd ith yſtyrieth yn llefain am Droi o honot; Mae *Ammyneddus Ymaros Duw* yn llefain am i ti Droi; Mae 'r holl *Drugareddau* a dderbyniaiſt yn llefain Trô: Mae *Gwialen cerydddon* Duw yn llefain, Trô: Mae dy Reſwm a dull dy naturiaeth yn eiriol am dy ddychweliad: ac felly y mae dy holl *Addewidion i* Dduw: *Ac onid oes yn dy frŷd di etto Droi?*

3. Heb law hyn, O bechadur truan caledgalon! A yſtyriaiſt di erioed ar ba berwyl a thermau yr wyt ti trwy gydol hyn o amſer yn barrio ac yn ſefyll â'r hwn ſy 'yn galw arnat i Droi. Yr eiddo ef ydwyt, yr wyt yn dy ddylau dy hun a chwbl ar a feddi iddo ef; Ac oni eill efe feiſtroli yr eiddo ei hun? Ei wâs ef wyt ti yn hollawl, ac ni ddyleit waſanaethu un Meiſtr arall. Yr wyt ti yn ſefyll ar ei Nawdd ef, ath hoedl ſydd yn ei ddwylaw; Ac nid oes yn ei fryd ef mo'th achub ar ammodau amgenach. Mae gennyt lawer o elynion yſprydol, milain, a maleiſus, a fyddai lawen ganthynt pe gwrthodei Dduw dydi, a gadael rhyngthynt hwy a thi, ath adael iw hewyllys hwynt: gynted y trinient hwy di mewn modd arall? Ac ni elli di gael dy waredu oddiwrthynt ond trwy ddychwelyd at Dduw. Ti a ſyrthiaiſt yn barod

tan ei ddigofaint ef trwy dy bechod: ac nis gwyddoſt pa hyd etto y diſgwyl ei ammynedd ef. Yſgatfydd hon yw y flwyddyn ddiweddaf; Yſgatfyd y dydd diweddaf: Mae ei gledyf ef wrth dy galon, tra yw y gair yn dy glûſt, ac oni Throi, yr wyt ti yn ddyn marw colledig. Pettau dy lygaid ond yn agored i ganfod, pa le yr wyt ti yn ſefyll, ſef ar ymyl Uffern, ac i ganfod pa ſawl mil ſyd yno yn barod ar na throeſant, ti a ganfyddit ei bod hi yn brŷd i ti i edrych yn dy gylch.

Wele hawyr, edrychwch oddifewn, a mynegwch i mi yn awr, pa wedd y mae eich calonnau yn ymſerchu â'r addewidion hyn o'r eiddo Duw? Chwi a glowch beth yw ei feddwl, nid yw efe yn ymhoffi yn eich marwolaeth: Mae ef yn galw arnoch, *Dychwelwch, Dychwelwch*: Mae yn arwydd ofnadwy oni bydd i hyn oll dy gynhyrfu, neu onid hanner dy gynhyrfu; a mwy o lawer os gwnaiff di yn fwy diofal yn dy drueni, o herwydd dy fod yn clywed am drugarogwrydd Duw. Y môdd y gweithio y phyſygrwiaeth a ddengys i ni mewn rhan, a oes gobaith o'r feddyginaeth. O pa newyddion llawen fyddei ir rhai ſy yn awr yn Uffern, pe caent ond y cyfryw gennadwri oddiwrth Dduw. Pa air ei lawened fyddei glywedd hyn [*Trowch a byddwch fyw*] ie pa air croeſawus a fyddei efe iti, wedi iti ddioddef yno ddigofaint Duw ond tros un awr! neu pei cait glowed y cyfryw air oddiwrth Dduw yn ol dy boeni dros fil, neu ddengmil o flynyddoedd [*Dychwel*

*a bydd fyw*] ac etto a esceulusi di fo, a gadael i ni ddychwel heb ein neges?

Wele bechaduriad, fo 'n gosodwyd ni yma megis cennadon yr Arglwydd; i osod o'ch blaen chwi fywyd a marwolaeth: beth meddwch? pa vn o honynt a ddewis−wch? Mae Christ yn sefyll megis yn dy ymyl, a'r nefoedd yn y naill llaw iddo, ac Vffern yn y llall: ac yn cynnig iti dy ddewis; pa un a ddewisi di? Llef yr Arglwydd a wna ir creigiau ddychrynu: *Psal.* 29. Ac yw ddim gennit glywed ei fygythion tu ac attat ti, os ti ni ddychweli? Onid wyt ti yn dirnad ac yn adnabod y llef hon, [*Dychwelwch, dychwelwch, pa ham y byddwch feirw?*] llais cariad ydyw, cariad annherfynol y goreu a'r mwyneiddiaf gyfaill, fel y mae yn hawdd iti ddeall wrth y cynnyg o hono; ac etto a elli di ei esceuluso fo? llêf tosturi a thrugaredd ydyw. Yr Arglwydd sy 'n gweled i ba le yr wyt ti yn myned yn well nâ thydi dy hun; hynny a wna iddo ef alw ar dy ôl, *Dychwel, dychwel*; fo wŷl beth A ddaw o honnot, oni Ddychweli: Mae fo yn meddwl ynddo ei hun, *Oh! oni Ddychwel y pechadur tlawd hwn, efe ai teifl ei hun i boenau didrangcedig*; rhaid i mi o gyfiawnder rannu ag ef yn ôl fy nghyfion gyfraith: o herwydd paham mae fo 'n galw ar dy ôl di, *Dychwel, dychwel.* O bechaduriaid! pei gwyddech chwi y filfed ran o'r peryglon sy agos attoch, a'r trueni yr ydych yn rhedeg iddo, yn gystal

ac y gŵyr Duw, Ni byddai raid i ni mwyach Alw ar eich ôl i *Ddychwelyd*.

Am ben hyn, y llêf hon ſy 'n galw arnat y ſydd gyfryw ac a ffynnodd gydâ miloedd yn barod, ac a alwodd bawb ir nefoedd ar ſy yn awr ynthi: ac ni ſynnent chwaith yr awr hon er mil o ſydoedd ddarfod iddynt ei dirmygu, ac na throeſent at Dduw. Pa beth y mae y ſawl a droeſant wrth alwad Duw yr awron yn ei feddiannu? Maent yn awr yn deall mewn gwirionedd, mai llêf Cariad ydoedd hi, yr hon nid oedd yn bwriadu iddynt dim mwy niwed na'i hiechydwriaeth. Ac os tydi a vfyddhei ir unrhyw Alwad, ti a ddeui ir unrhyw happuſwydd. Mae myrddiwnau y bydd yn rhaid iddynt alaru yn dragywydd am na ddychwelaſant: eithr nid oes un enaid yn y nefoedd yn ddrwg gantho ddarfod iddo ddychwelyd.

Wele hawyr, a ymroeſoch chwi etto, ai nad do? Ai rhaid i mi ddywedyd dim ychwaneg wrthych? Pa beth a wnewch? A drowch chwi ai peidio? Llefara ddŷn yn dy galon wrth Dduw, er na leferi di allan wrthyf fi: Llefara, rhag iddo gymeryd dy ddiſtawrwydd yn lle nâg. Llefara yn bryſur, rhag na chynnygio efe y cyffelyb gynnig itti mwyach. Llefara o lwyr fryd calon ac nid tan ammau; Canys ni fyn efe yn ganlynwyr iddo mor rhai a ſafont ar eu cyngor heb fyned yn eu blaen. Dywaid yn dy galon yn awr, heb oedi ymhellach, a hynny cyn i ti

yſgogi oddiyna, [*Trwy râs Duw mae yn fy mrŷd i ddychwelyd ar frys: Ac o herwydd fy môd yn gwybod fy ngwendid, mi a ddiſgwyliaf wrth Dduw am ei râs, ac y mae 'n fy mryd i ganlyn Duw yn ei ffyrdd, ac ymwrthod â'm hên helyntiau a'm cymdeithion, am rhoddi fy hun i fynu i hyfforddiad yr Arglwydd.*

Hawyr ni chaewyd mhonoch chwi i fynu mewn tywyllwch crefydd y cenhedloedd, nac mewn anobaith y damnedic. Mae einioes gar eich bronnau; a chwi a ellwch ei chael os mynnwch, ar ammodau gweddol; ie yn rhâd os chwi ai derbynniwch. Mae ffordd Dduw yn ſefyll yn eglur och blaen; mae yr Eglwys yn agored i chwi; mae cymdeithas y rhai Duwiol yn agored i chwi: Chwi a ellwch gael Criſt, a phardwn, a ſancteiddrwydd, os mynnwch. Pa beth a ddywedwch? A wnewch chwi ai peidio? Os dywedwch nawnewch, neu oni ddyweddwch ddim, ac fŷthfŷth myned rhagoch; Mae Duw yn dŷſt, ar gynnulleidfa hon yn dŷſt, a'ch cydwybodau yn dyſtion, decced cynnyg a gowſoch chwi y dydd heddyw. Cofiwch, y galleſych gael Criſt ac nas mynnech. Cofiwch, pan golloch ef, y gallaſech chwi gael bywyd tragywyddol yn gyſtal ac eraill, ac nas mynnech; ar cwbl oll oblegid na fynnech Droi.

Eithr gedwch i ni ddyfod at yr Athrawiaeth neſaf, a chlywed eich rheſymmau.

Athr. 6.

Athr. 6. *MAe yr Arglwydd yn ymostwng i ymresymmu 'r matter â phechaduriaid annychweledic, ac i ofyn iddynt, pa ham y byddant feirw?*

YMresymmiad chwith yw, yn gystal o ran y ddadl, a'r ymresymwyr.

1. Y ddadl neu 'r cwestiwn a adroddir i ymresymmu yn ei gylch, yw, *Pa ham y damnia 'r annuwiol hwynt eu hunain? neu, pa ham y byddant feirw yn hytrach nâ dychwelyd?* A oes ganthynt un rheswm digonol am wneuthur felly?

2. Yr ymrhesymwyr ydynt, *Duw a Dyn: Y Duw tra-sanctaidd, a pechaduriaid annuwiol annychweledic.*

1. Onid yw yn beth rhyfedd, yr hyn y tebygir fôd Duw yn ei rag-fwrw yn hyn o fann, y byddei undyn yn ewyllysio marw a bôd yn ddamnedic? Ie y byddai hyn yn gyflwr yr holl rai annuwiol, hynny yw, y rhan fwyaf o'r bŷd? Eithr chwi a ddywedwch, Ni eill hyn mo'r bôd; *Canys naturiaeth a chwennych ei chadwedigaeth ai dedwyddwch ei hun: ac y mae 'r annuwiolyn edrych mwy arnynt eu hunain nag y mae eraill, ac nid dim llai:*

*llai: ac am hynny pa fôdd y dichon neb fynnu bôd yn ddamnedic?*

Ir hyn yr attebaf, 1. Y ficcr wirionedd yw, na ddichon neb ewyllyfio dim drwg megis drwg, ond yn unig megis ac y mae gantho fâth ar rith o ddaioni: llai o lawer y dichon neb ewyllyfio ei boenydio yn dragywydd. Trueni megis y cyfryw, fef fel y mae 'n drueni, ni chwennychir gan neb. 2. Ond etto er hynny ei gyd, mae yn ddigon gwir yr hyn y mae Duw yn ei ddyfcu i ni yma; *Mai yr achos paham y mae yr annuwiol yn meirw ac yn bod yn ddamnedic, yw, o herwydd hwy a fynnant feirw a bod yn ddamnedic.* A hyn fydd wir mewn amryw foddion.

1. *O herwydd hwy a gerddant y ffordd fy 'n arwain i Uffern, er i Dduw a dŷn ddywedyd wrthynt, i ba le y mae hi yn myned, a pha le y mae ei diwedd*; ac er i Dduw dyftiolaethu cyn fynyched yn ei air, os ânt rhagddynt yn y ffordd honno, y byddant damnedic, ac na byddant gadwedic oddieithr iddynt *Ddychwelyd*, *Esay.* 48. 22. *Nid oes heddwch medd yr Arglwydd ir rhai annuwiol*, Esay. 59. 8. *ffordd heddwch nid adwaenant, ac nid oes gyfiawnder yn eu llwybrau: gwnaethant iddynt lwybrau ceimion; pwy bynnac a rodio yno, nid edwyn heddwch.* Mae ganthynt air a llŵ y Duw byw am dano, oni ddychwelant, nad ânt i mewn iw orphwysfa ef, Heb. 3. 11. Ac etto annuwiol ydynt, ac annuwiol fyddant, dyweded Duw a dyn a fynnont; Cnawdol ydynt a chnowdol fyddant; Bydol ydynt, a

bydol fyddant, er i Dduw ddywedyd wrthynt fod cyfeillach *y byd yn elyniaeth i Dduw, ac o châr nêb y byd* (yn y mesur hwnnw ) *nid yw cariad y tâd ynddo ef, Jac.* 4. 4. 1 *Jo.* 2. 15. ac felly yn ddigwyddawl mae y dynion hyn yn mynnu bôd yn ddamnedic, er nad ydynt ar uniawn-gyrch: Maent hwy yn ewyllysio y ffordd i Vffern, ac yn caru y siccr achos o'u poendod, er nad ydynt fodlon i Vffern ei hun, nac yn caru 'r boen sy raid iddynt ei goddef.

Hawyr, onid dyma wirioned eich cyflwr: ni fynnech chwi mor llosgi yn Vffern? eithr chwi gynheuwch y tân trwy eich pechod, ac ach bwriwch eich hunain iddo: Ni fynnech chwi mo'ch poenydio yn dragywydd gydâ Chythreiliaid; eithr chwychwi a wnewch yr hyn a ddwg hynny i benn yn ddiammau, er a allo ddim a ddyweder ir gwrthwyneb. Or un ffunyd yw a phe dywedech, *myfi a yfaf wenwyn-llygod ffrengic, neu ryw wenwyn arall, ond er hynny ni fynnwn i mor marw. Mi am bwriaf fy hun bendramwnwgl o ben y Clôch-dy; ond er hynny ni laddafi mhono fy hun; Mi a fratha 'r gyllell hon yn fy 'nghalon, ond ni ddygaf fi mo'm hoedl er hynny; Mi a roddaf y tân yma yn nhô fy nhŷ, ond er hynny ni fynnai moi losci.* Felly yn vniawn y mae gydâ dynion annuwiol; Hwy a fyddant annuwiol, ac a fyddant byw yn ol y cnawd ar bŷd, ac etto ni fynnent hwy gael moi damnio. Eithr oni wyddoch chwi fod y moddion yn tywys

at

at y diben ? a darſod i Dduw trwy ei gyfraith gyfiawn bennodi ſod yn rhaid i chwi edifar-hau neu ſod yn golledic ? Yr hwn a gymero wenwyn a eill yn hydda, ddywedyd cyſtal ac mi am lladdaf fy hun; canys ni ddigwydd ddim gwell yn y diwedd: er iddo yſcatſydd ei garu ef oblegyd meluſtra y Suwgr a gym-myſcwydd ag ef, ac ni fynnei goelio mai gwenwyn ydoedd, ond y gallai efe ei gyme-ryd a bôd yn dda ddigon: Eithr nid ei ddych-ymygion ai hyder ef a wareda ei einioes: felly os byddwch chwi ſeddwon, neu odinebwyr, neu ſydol, neu yn byw yn ôl y cnawd, chwi a ellwch yn hydda ddywedyd cyſtal ac, ni a fyddwn damnedic. Canys felly y bydd i chwi, oddi eithr i chwi ddychwelyd. Oni cheryddech chwi ffoledd Lleidrin neu Lo-frudd a ddywedai [*mi a ledrattaf, ac a la-ddaf, ond ni fynnai mo'm crogi.*] Pan ŵyr efe os gwneiſt ef y naill, yr edrych yr Juſtus mewn cyfiawnder am gaffael o'r llall ei wneu-thur. Os dywaid efe, mi a *laddaf*, ac a *ledrattaf*, efe a eill yn hydda ddywedyd cy-ſtal ac, mi a fynnaf fy ngrhogi. Felly os ewch chwi ymlaen mewn buchedd gnawdol, chwi a ellwch yn eglur ddywedyd cyſtall ac, *Mi a awn i Uffern.*

2. Ymhellach, *ni arfer yr annuwiol mor moddion hynny, heb ba rai nid oes gobaith o iechydwriaeth.* Y ſawl ni fwytti, a eill cyſtal ddywedyd yn groyw, na fyn efe mor byw, oddieithr medru o hono ef ddywedyd pa

ſôdd

fôdd i fyw heb fwyd. Y sawl ni cherddo ei ffordd, a eill yn groyw ddywedyd yn cystal ac na fyn efe ddyfod i ben ei helynt a'i shwrnai. Y sawl a syrthio mewn dwfr, ac na ddelo allan, na goddef i arall ei helpio allan, a eill ddywedyd yn groyw cystal ac, mi a fynnaf foddi: felly os byddwch chwi gnawdol ac annuwiol, ac ni fynnwch mor dychwelyd, nac arfer y moddion drwy ba rai y dylaech ddychwelyd, ond a dybiwch ei fod yn fwy trafferth nag a oedd raid, chwi a ellwch yn groyw ddywedyd cystal, ac y mynnwch chwi eich damnio. Canys os cowsoch chwi ffordd i fôd yn gadwedic heb Droedigaeth, chwi a wnaethoch yr hyn ni wnaethpwyd erioed or blaen.

3. *Ie, nid hyn yw'r cwbl, ond y mae yr annuwiolyn anfodlon i iechydwriaeth ei hunan.* Er iddynt hwy allael chwennych rhyw-beth y maent yn ei alw ar enw y nefoedd; er hynny y nefoedd ei hunan, oi hystyried yng wir naturiaeth y dedwyddwch, nid ydynt yn ei chwennych; ie mae eu calonnau yn llwyr wrthwyneb iddo. Cyflwr o berffaith sancteiddiwydd, ac o gyfanned gariad, ac o foliant i Dduw yw 'r nefoedd. Ac nid oes gan yr annuwiol galon i hyn. Y cariad, a'r mawl, a'r sancteiddrwydd amherffaith ar a gyrhaeddir yma, nid oes moi meddwl hwy arno: llai o lawer ar yr hyn sy'n ddirfawr mwy. Mae llawenydd y nefo naturia-

eth

eth mor bûr ac mor ysprydol, na ddichon calon yr annuwiol moi wir chwennych.

Ac felly erbyn hyn chwi a ellwch weled, ar ba sail y mae Duw yn rhag-fwrw, fod yr annuwiol yn fodlon iw dinistr eu hunain: *ni throant, er bod yn rhaid iddynt droi neu feirw.* Hwy a anturiant yn hyttrach ar siccr drueni, nag y dychwelont; ac yna iw llonyddu eu hunain yn eu pechod, hwy a barant iddynt eu hunain goelio y diengant rhag damnedigaeth er hynny.

2. Ac megis ac y mae 'r Ddadl yn achos o ryfeddod (y byddei ddynion fyth y fâth elynion iddynt eu hunain, a bwrw eu heneidiau ymaith o'u gwirfodd) felly hefyd y mae yr *Ymresymwyr*, sef y byddei i Dduw ymostwng cyn iseled ac i ddadlau y cŵyn a dyn fal hyn, ac y byddai ddyn mor ddall, ac mor gyndyn ryfedd, a bôd yn rhaid wrth hyn oll mewn matter mor eglur; ie ac i wrthwynebu hyn oll, pan yw ei hiechydwriaeth eu hunain yn sefyll ar y diben o hynny.

Nid rhyfedd os hwy ni wrandawant arnom ni sydd ddynion, pryd na wrandawont ar yr *Arglwydd* ei hun, fal y dywaid Duw, *Ezec.* 3.7. Pan anfonodd ef y prophwyd at yr Israeliaid [*Tŷ Israel ni fynnant wrando arnat ti: Canys ni fynnant wrando arnaf fi: Canys talgryfion a chaled galon ydynt hwy, holl dŷ Israel*] Nid rhyfedd os medrant hwy ddadlau yn erbyn

Gweinidog, neu ryw gymydog duwiol, pan ddadleuont hwy yn erbyn yr Arglwydd, sef yn erbyn y mannoedd eglurat oi air ef, a thybied fod ganthynt ddigon o reswm ar eu tu. Pan fyddont yn blino 'r Arglwydd âi geiriau, Dywedant, ym mha beth y blinasom ef? *Mal.* 2. 17. Yr offeiriaid *a ddirmygent ei enw* a feiddient ofyn, *ym mha beth y dirmygasom dy enw di?* *A phan halogasant* ei allor, a gwneuthur *bwrdd yr Arglwydd yn ddirmygus*, hwy a feiddient ddywedyd, *ym mhâ beth yr halogasom di?* *Mal.* 1. 6, 7. Eithr Gwae (medd yr Arglwydd) *a ymrysono â'i luniwr, ymrysoned priddel â phriddellau 'r ddaiar; a ddywed y clai wrth ei luniwr, beth a wnei?* Esay. 45. 9.

Cwest. *Eithr pa ham yr ymresymma Duw y ddadl fal hyn a dyn?*

*Atteb.* Oblegid fod dyn, yr hwn sydd *greadur rhesymmol*, iw drin yn ôl hynny, a thrwy reswm y dylit ei berswadio ai orchfygu. Duw o herwydd hyn̄y ai cynyscaeddodd hwynt â rheswm, fal y gwnaent ddefnydd o hono iddo ef. Fe Dybygei un, nad ae greadur rhesymmol yn erbyn y rheswm egluraf a mwyaf yn y byd, pan y gosoder gar ei fron ef.

2. Or hyn lleiaf, fe gaiff dynion weled na ofynnodd Duw ddim ganthynt ar a oedd anrhesymmol. Eithr pa beth bynnag y mae efe yn ei orchymyn iddynt, a pha beth bynnag

y

y mae 'n ei wahardd iddynt, mae gantho efe bob gwir reswm yn y byd ar ei du, neu ar ei ran: Ac y mae yn rheswm da iddynt hwythau ufyddhau iddo, eithr yn ddiresẅn anufyddhau Ac yn y môdd hwn y gorfydd ar hyd yn oed y rhai damnedic gyfiawnhau Duw, a chyfaddef mai rhesẅm a fasei iddynt ddychwelyd atto ef; Ac fe orfydd arnynt gondemnio eu hunain, a chyfaddef nad oedd ganddynt resẅm iw bwrw eu hunain ymaith, trwy esceulufo ei râs ef yn nydd eu hymweliad.

---

# Defnydd.

EDrychwch bechaduriaid am eich rhesymmau goreu a chadarnaf, os mynnwch chwi wneuthur eich ffordd yn dda; chwi a welwch pwy sydd weithian i chwi i ymdrin ag ef. Pa beth a ddywedi, tydi adyn anianawl annychweledic, a feiddi di anturio ymddadlau a Duw? A elli di wrthbrofi yn erbyn Duw? A wyt ti barod i roddi dy enw i fewn? Mae Duw yn gofyn i ti, pa ham y byddi farw? A wyt ti gwedi dy arfogi ag atteb digonol? A gymeri di arnat brofi fod Duw yn camgymeryd, ac mai tydi sydd ar yr iawn? Oh pa anturiaeth yw hon! Och,

 mae

mae naill ai efe ai tydi yn camgymeryd, Pan ydyw efe tros dy droedigaeth, a thithau yn ei herbyn. Mae efe yn galw arnat i ddychwelyd, a thithau nis gwnei. Mae efe yn erchi i chwi wneuthur hyn yn ebrwydd, sef y dwthwn hwn, tra gelwir hi heddyw; chwithau a oedwch, ac a dybiwch ei bod hi yn abl dda yr amser yn ôl hyn. Mae efe yn dywedyd, fod yn rhaid iddo fôd yn gyfnewidiad cyfan, a bod yn rhaid i chwithau fod yn sanctaidd, ac yn greaduriad newydd, a chwedi eich ail-eni; A chwithau a dybiwch mai llai a wasanaetha 'r tro, ac mai digon yw clyttio yr hên ddŷn, heb fyned yn newydd. Pwy sydd yn awr ar yr iawn, ai Duw ai chwychwi? Mae Duw yn galw arnoch i Droi a byw bywyd sanctaidd, ac ni fynnwch; Wrth eich bucheddau anufydd yr ymddengys na fynnwch chwi. Os mynnwch, pa ham nas gwnewch? Pa ham nas gwnaethoch trwy gydol hyn o amser? A pha ham nad ewch yn ei gylch ef etto? Mae eich bucheddau tan lywodraeth eich ewyllys. Nyni a allwn yn lle gwir farnu ych bod chwi yn anewyllysgar i Droi, pryd nad ydych yn Troi. *A pha ham nas gwnewch?* A fedrwch chwi roddi un rheswm trosoch, ar a haeddei ei alw yn rheswm?

Myfi yr hwn nid wyf ond prŷf, eich cydgreadur, o wann ddealltwriaeth a feiddiaf fialeinsio y dcethaf o honoch oll, i ymrysemmu

y

y matter â myfi, tra bwyſ yn dadlau dadl fy 'ngwneuthurwr: Ac nid rhaid i mi ddigalon ni, a myfi yn gwybod fy môd yn dadlau y ddadl y mae Duw yn ei dadlau, ac yn ymbledio tros yr hwn a fynn y goreu yn y diwedd. Pettau gennif ond y ddau reſwn cyffredinol hyn yn eich erbyn, mae 'n ddiogel gennyf nâ feddwch chwi vn rheſwm da ar eich tu, neu ar eich hyſtlys.

1. Mae 'n ddiogel gennif na ddichon efe fod yn Rheſwm da, yr hwn ſy yn erbyn Duw 'r gwirionedd a rheſwm. Ni ddichon hwnnw fod yn oleuni, ar ſy 'ngwrthwyneb ir haul. Nid oes dim gwybodaeth mewn un creadur, ond a gafodd efe oddiwrth Dduw: ac am hynny ni ddichon yr un fod yn ddoethach nâ Duw. Rhyſyg damnedic oedd ir Angel pennaf ymgyſtadlu â'i Greawdwr. Pa beth gan hynny yw i delpyn o dom, i hurtyn difynwyr, ni edwyn mhono ei hunan nai enaid ei hun, ni edwyn ond ychydic o'r pethau a wêl; ie yr hwn ſy'n llai ei wybodaeth nâ bagad o'i gymdogion, ymoſod yn erbyn doethineb yr Arglwydd? Un o'r datcuddiadau helaethaf o echryſlawn ddrygioni dynion cnawdol, a dygn amhwyll y cyfryw yn y pechod yw; fod ir fath ddaiar-dwrch gwirion-ffôl ddywedyd yn erbyn ei Wneuthurwr, a cheweſtiwnu gair Duw: Ie fod ir bobloedd hynny yn ein plwyfydd, y rhai ſydd mor anifeiliaidd ddiwybod, na fedrant roddi i ni

un atteb gweddol ynghylch prif-byngciau crefydd, fôd er hynny cyn ddoethed yn eu tŷb eu hunain, ac y rhyfygant gwestiwnu y gwirionedd egluraf o'r eiddo Duw, ie ei groesi, ac ymgeccrysu iw erbyn, pan na fedront ond prin ymadroddi yn gywir, ac ni chredant mhono ddim pellach, nag y bo yn cytuno âi ffol-ddoethineb hwynt.

2. Ac megis y gwn i fod yn rhaid i Dduw fod ar yr iawn, felly mi a wn fod y matter mor afresymmol y mae efe yn dadlau iw erbyn, ac na ddichon neb gael rheswm am dano. Ai possibl y dychon dyn gael rheswm yn y byd i dorri cyfreithiau ei wneuthurwr? A rheswm i ddianrhydeddu Arglwydd y Gogoniant? A rheswm i amherchi yr Arglwydd a'i prynodd? *Ai* possibl y dichon dyn gael un rheswm da i ddamnio ei enaid anfarwol ei hun? Ystyriwch yr hyn y mae yr Arglwydd yn ei ofyn; [*Dychwelwch, dychwelwch, pa ham y byddwch feirw?*] Ydyw angeu tragwyddol yn beth iw chwennych? Ydych chwi yn caru Uffern? Pa reswm sydd gennych am eich difetha o'ch gwirfodd? os tybiwch fod yn beth rheswm i chwi bechu, oni ddylaech gofio mai cyflog pechod yw marwolaeth? *Rhuf.* 6. 23. a meddwl a ydyw yn rheswm i chwi eich difetha eich hunain gorph ac enaid yn dragywydd? Chwi a ddylaech nid yn unig ymofyn a ydych chwi yn caru y neidr, ond a ydych chwi yn caru y colyn. Y mae dŷn trwy daflu ymaith ei ddedwyddwch tragwyddol, a phechu yn erbyn

Duw yn gwneuthur y ſath beth, ac nad aller rhoi un iawn reſwm troſto. Eithr po mwy-af a ddadleuo un dyn troſto, ynſytta y dengys ei fod. Pe cynnygid i chwi Arglwyddiaeth neu deyrnas am bob pechod a wneloch, nid rheſwm, ond ynſydrwydd oedd i chwi ei dderbyn. Pe gallech chwi trwy bob pechod ſwynhau y peth pennaf ar y ddaiar, ar a ddy-munai y cnawd, ni byddei o brîs cymmhe-drol yn y byd ich perſwadio gydâ rheſwm iw wneuthur. Pettau i ryngu bôdd ich cy-faill mwyaf neu 'r anwylaf, neu i Uſyddhau ir tywyſog mwyaf ar y ddaiar, neu i achub eich hoedl, neu i ochelyd y trueni daiarol mwyaf, nid yw y rhai hyn oll o bwys yn y byd i dynnu dyn gydâ rheſwm i wneuthur un pechod. Pettau law ddehau, neu lygad dehau yn rwyſtro eich iechydwriaeth, y ffordd fwyaf ennillgar yw, ei fwrw ef ymaith yn hyttrach na myned i Vffern iw lafio ef. Canys nid oes achub i han, pan golloch chwi 'r cyfan. Mor anfeidrol yw pethau tragwy-ddoldeb, nad oes dim yn y byd yn haeddu un-waith eu henwi mewn cyffelybiaeth iddynt: Ac ni eill dim daiarol, pe rhôn iddo a bôd yn Einioes, neu Goronau, neu frenhiniaethau, fôd yn eſcus cymhedrol, i eſceuluſo pethau o'r cyfryw oruchel, a thragywyddol bwys. Nid eill bôd gan ddyn reſwm i groeſi ei ddi-ben eithaf. Mae 'r nefoedd yn gyfryw beth os chwi ai collwch, na ddichon dim gyflowni 'r diffyg na gwneuthur y golled i fynu. Ac

Vffern sydd gyfryw beth, os goddefwch hi, na ddichon dim symmyd ymaith eich trueni, na rhoddi i chwi gysur ac esmwythdra. Ac am hyn ni ddichon dim fod, a dalo ei ystyried i'ch escusodi, am esceuluso eich iechydwriaeth eich hunain. Canys ein Achubwr a ddywaid, *pa lesâd i ddyn, os ennill yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun,* Marc. 8. 36.

Och ha-wyr, nas gwypech pa bethau yr ydym ni yn awr yn crybwyll wrthych chwi am danynt? Mae gan y saint yn y nefoedd fâth arall ar feddyliau ynghylch y pethau hyn. Pe gallei y Cythrael ddyfod at y rhai sydd yn byw yngwydd ac yngHariad Duw, a chynnyg iddynt gwppanaid o gwrwf, neu buttain, neu gwmpeini digrif, neu chwareyddiaeth iw denu hwynt ymaith oddiwrth Dduw a gogoniant, attolwg mynegwch i mi, pa fodd dybygwch y derbynient y cynnygiad? Neu pe cynnygiai efe iddynt fod yn frenhinioedd ar y ddaiar: A ydych chwi yn tybied, y denai hyn hwynt i lawr o'r nefoedd? Oh â pha gasineb a dibrisrwydd sanctaidd y diystyrent hwy ac y gwrthodent y cynnygiad! a pha ham nas gwnaech chwithau felly, y rhai y mae 'r nefoedd yn agored ich ffydd, pettau gennych ond ffydd iw weled? Nid oes enaid yn Vffern nas gŵyr erbyn hyn, mai cyfnewid ynfyd oedd ollwng y nefoedd ymaith am ddifyrrwch cnawdol; Ac mai nad ychydig ddigrifwch, neu ddifyrrwch, neu olud bydol, neu barch, neu ewyllys da, neu air da dynion

a ddi-

a ddiffydd dân Vffern, neu ai gwnaiff ef yn ennillwr ar a gollo ei enaid. Ow pe clywsech chwi yr hyn yr wyfi yn ei gredu, pe gwelsech yr hyn yr wyfi yn ei gredu, a hynny ar goelfain gair Duw, chwi a ddywedech na ddichon bôd gan ddyn reswm trosto ei hun am ddamnio ei enaid; Ni seiddiech chwi gyscu yn esmwyth noswaith ymhellach nes i chwi ymroi i ddychwelyd a Byw.

Os gwelwch chwi ddŷn yn taro ei law yn y tân hyd oni losger hi ymaith; chwi a ryseddwch wrth hynny; Eithr peth yw hwn y geill bód gan ddyn reswm am dano, fal yr oedd gan Escob Cranmer pan y llosgodd efe ei law ymaith, am iddo yscrifennu â hi ei gydsynieth i Babyddiaeth. Os gwelwch ŵr yn torri coes, neu fraich i faes, mae yn olwg garw; Eithr peth yw hyn y gall bôd gan ddyn reswm da am dano; fal y gwnaiff llawer dyn o ran achub ei hoedl. Os gwelwch ŵr yn rhoddi ei gorph iw losci yn ûlw, ac iw arteithio â'r Cephyl-pren, a dirdynniad, ac yn gwrthod ymwared pan y cynnygier, mae hwn yn gyflwr caled i gîg a gwaed: Eithr fe all fôd gan ddyn reswm da am hyn, fal y gallwch weled yn *Heb.* 11. 33, 34, 35, 36. a'r môdd y gwnaeth llawer cant o ferthyron. Ond bôd iddynt ymwrthod â'r Arglwydd yr hwn ai gwnaeth, a bôd i ddyn redeg i dân Vffern, darfyddo i rybyddio, ac ymbil ag ef am droi fal y bydd o

sadwedic; hyn sy yn beth ni ellir cael rheswm yn y byd am dano,(ar sydd wir reswm) iw gyfiawnhau na'i escusodi. Canys y nefoedd a dâl am y golled o ba beth bynnac y gollom ni, wrth ei cheisio hi; ac am y boen a gymerom ni am dani. Eithr nid eill dim dalu 'r pwyth am y golled o'r nefoedd.

Attolwg i chwi yn awr gedwch ir gair hwn ddysod yn nês at eich calonnau. Ac megis ac y mae yn eglur ddigon i chwi, nad yw reswm i chwi eich difetha eich hunain; felly mynegwch i mi pa reswm sydd gennych i wrthod Troi a Byw i Dduw? Pa reswm sydd gan y bydol-ddyn, neu 'r meddwyn, neu 'r diwybod, ddiofal bechadur pennaf o honoch ôll, pa ham na byddech mor sanctaidd ac ydyw un-dyn ar a adwaenoch, ac mor ofalus am eich eneidiau ac ydyw neb arall? Oni bydd Uffern mor boeth i chwi ac i eraill? Oni ddylei eich eneidiau chwi eich hunain fôd mor anwyl gennych chwi, ac yw'r eiddynt hwy genthynt hwythau? Ai nid oes gan Dduw cymmaint o Awdurdod arnoch chwi? Paham gan hynny nad ewch chwithau yn bobl sanctaidd yn gystal a hwynt hwy?

Och hawyr! pan ddycco Duw y matter i lawr hyd at brif gynneddfau naturiaeth, a dangos i chwi, nad oes gennych i fod yn annuwiol ddim mwy rheswm, nag sydd gennych

ych i ddamnio eich eneidiau: Os chwychwi er hyn ni fynnwch ddeall a dychwelyd; mae iw weled eich bôd mewn cyflwr annobeithiol.

Ac yn awr naill ai mae gennych reswm am yr hyn yr ydych yn ei wneuthur, neu nid oes yr un. Onid oes, a ewch chwi ymlaen yn erbyn rheswm ei hun? A wnewch chwi yr hyn nid oes gennych reswm am dano? Eithr os tybiwch fôd gennych, dygwch ef allan, a gwnech eich goreu och matter. Ymresymmwch beth ar y matter â myfi, eich Cyd-greadur, yr hyn sydd haws o lawer nag ymresymmu'r matter â Duw. Mynega i mi ddŷn, yn hyn o fan gar bron yr Arglwydd, fel ped faet ti i farw yr awr hon, pa ham nas dylait ymroi i ddychwelyd heddyw cy̅n i ti chwimio or man lle yr wyt yn sefyll? Pa reswm sydd gennyt i naccau, neu i oedi? A Oes yr un rheswm gennyt, ar sydd yn bodloni dy gydwybod dy hunan? Nac yr un a lêfesi di ei berchennogi ai ddadlau gar bron brawdle Duw? Os oes, moes eu clywed; dwg hwynt allan, a gwna nhw'n dda. Ond, ysywaeth, pa araith drwsgl, pa salw ymleferydd a glown ni beunydd gan ddynion annuwiol. Oni bai eu hanghenrheittied e fyddei arnaf gywilydd eu henwi.

1. *Un a ddywaid, oni bydd neb cadwedic ond y cyfryw rai Dychweledic a Sancteiddied-*

*ic, ac y soniwch chwi am danynt, yna ni byddai'r nefoedd ond gwág, yna Duw a fo ar ran llawer un.*

Atteb, Pa beth ! fe dybygid eich bôd chwi yn meddwl nâs gŵyr Duw, neu nad yw efe iw goelio ! Na fesurwch mo bawb wrthych eich hunain. Mae gan Dduw filoedd, a myrddiwnau o'i rai sanctaidd : Ond etto ychydic oi cyffelybu ir byd ydynt hwy, fel y dywedodd Crist ei hun i ni, *Mat.* 7. 13, 14. *Luc.* 12. 32. A Gweddeiddiach i chwi, wneuthur y defnydd hwnnw o'r Gwirionedd hwn, y mae Crist yn ei ddyscu i chwi, *Ymdrechwch am fyned i mewn trwy'r porth cyfyng : oblegid cyfyng yw 'r porth, a chûl yw 'r ffordd sydd yn arwain ir bywyd, ac ychydig yw y rhai sydd yn ei chael hi : eithr ehang yw 'r porth, a llydan yw 'r ffordd sydd yn arwain i ddestryw, a llawer yw y rhai sydd yn myned i mewn trwyddi,* Luc. 13. 23, 24, *Nac ofna braidd bychan* (medd Crist wrth ei rai sancteiddiedic) *canys rhyngodd bòdd i'ch Tâd roddi i chwi y deyrnas, Luc.* 12. 32.

Gwrthddadl. 2. *Mae yn ddiammau gennyf, as eiff fy'nghyffelyb i,i Uffern, y cawn ni haflug o gwmpeini.*

*Atteb.* A fydd hynny ddim esmwythder a chysur i chwi ? Neu a ydych chwi yn tybied na ellwch gael digon o gwmpeini yn y nefoedd? a fynnwch chwi eich difetha er mwyn cwmpeini ? Neu oni chredwch chwi y cyflowna

na Duw ei ſygythion, oblegyd ſod cynnifer yn euog? Y rhai'n oll ydynt ddychmygion gwirion-ffôl anrheſymmol.

Gwrthddadl. 3. *Ac onid yw pawb yn bechaduriaid, ie'r goreu o honoch oll?*

*At.* Eithr nid oes mo bawb yn bechaduriaid heb ddychwelyd. Nid yw 'r Duwiol yn byw mewn pechod gorthrwm. Ac mae hyd yn oed eu gwendidau yn ofid ac yn ſaich arnynt, yr hyn y maent hwy beunydd yn hiraethu, ac yn gweddio, ac yn ymegnio am gael ei gwaredu oddiwrthynt. Nid yw pechod yn teyrnaſu arnynt.

Gwrthddadl. 4. *Ni welaf-fi fod Proffeſſwyr ddim gwell nâ gwŷr eraill; hwy a dwyllant, ac a orthrymmant, ac y maent mor gybyddus ac eraill.*

*At.* Pa beth bynnac yw rhagrithwyr, nid felly y mae gyda y rhai a ſancteiddiwyd. Mae gan Dduw filoedd, a miloedd ar nad ynt felly: er bôd y byd enllibus yn achwyn arnynt yr hyn nis gallant byth moi brofi, a'r hyn nid aeth erioed i mewn iw calonnau hwynt. Ac yn gyffredinol hwy a roddant iw herbyn bechodau 'r galon; y rhai ni ddichon neb ei gweled ond Duw; o herwydd nas gallant roddi iw herbyn ddim o'r fâth annuwioldeb yn eu bucheddau; ac y maent hwy eu hunain yn euog o hono.

Gwrthddadl. 5. *Eithr nid wyf fi na phutteiniwr*

*teiniwr, na meddwyn, na gorthrymmwr, ac am hynny pa ham y galwch arnafi i Ddychwelyd?*

*At.* Megis pettech chwi heb eich geni yn ôl y cnawd, ac heb fyw yn ôl y cnawd cystal ac eraill! Onid ydyw yn gymmaint pechod a'r mwyaf o'r rhai hyn, bôd gan Ddyn synniad daiarol, a'i fod yn caru 'r byd yn fwy na Duw, a bôd gantho galon anghredadwy heb ymddarostwng? Ie gedwch i mi ddywedyd i chwi yn ychwaneg, fôd llawer ûn ar sy yn gochelyd pechodau anafus, wedi ei gludio cyn dynned wrth y byd, ac mor gaethioni'r cnawd, ac mor estronol i Dduw, a gwrthwyneb ir nefoedd yn eu helynt fwy moesgar, ac yw eraill yn eu pechodau hynodol mwy cywilyddus.

Gwrthddadl. 6. *Eithr nid wyf-fi yn bwriadu niweid i neb, nac yn gwneuthur dim niweid, a phaham gan hynny y condemnai Duw fyfi.*

*At.* Ydyw yn niweid yn y byd esceuluso yr Arglwydd a'th wnaeth, a'r gwaith y daethost ir byd oi blegyd, a gwneuthur mwy cyfrif o'r creadur nâ'r Creawdwr, ac esceuluso y grâs a gynnygier i ti beunydd? Gorddyfnder dy bechod yw bôd mor anheimladwy o hono: Ni ŵyr y meirw mewn pechod oddiwrth eu bôd yn feirw. Petteit ti unwaith gwedi dy fywhau, ti a welit fwy ar fai ynot dy hun, ac a ryfeddit dy hun am wneuthur cyn lleied prîs o hono.

Gwrthddadl. 7. *Myfi a dybygwn y gyrrech chwi*

*chwi ddynion oi côf, tan rith eu dychwelyd hwynt: Mae yn ddigon i ddirboeni ymmennyddiau poblach wirion ſyſyrio cymmaint ar bethau rhy uchel iddynt.*

*Atteb.* 1. A ellwch chwi fôd ym mhellach och côf nag yr ych chwi yn barod? neu or hyn lleiaf, a eill fôd gwall-gof perycclach, nag eſceuluſo eich hawddfyd tragywyddol ach gwirfôdd ddifetha eich hunain? 2. Nid ydyw dyn un amſer yn ei iawn bwyll nes iddo droi: nid edwyn efe byth mo Dduw, nid edwyn efe bechod, nid edwyn Griſt, nid edwyn mor byd, nac efe ei hun, na pha beth yw ei orchwyl ar y ddaiar, ſal yr elo yn ei gylch nes iddo droi. Mae yr ſcrythur yn dywedyd fôd yr annuwiol yn ddynion anhywaith. 2. *Theſ.* 3. 2. a bôd Doethineb y bŷd hwn yn ffolineb gyda Duw. 1. *Cor.* 1. 19. ac yn *Luc.* 15. 17. fe a ddywedir am y mâb afradlon, pan ddaeth atto ei hun, ddarfod iddo ymroi i ddychwelyd yn ei ôl. Mae hwnnw yn ſyd doeth pan anuſyddhao dynion i Dduw, a rhedeg i Vffern rhag ofn bôd allan oi hwyl.

2. Pa beth ſydd yn y gwaith y mae Criſt yn eich galw chwi iddo, a allai yrru dŷn allan oi hwyl? Ai caru Duw, a galw arno, a meddwl yn gyſſurlawn am y gogoniant i ddyfod, ac ymadei â'ch pechodau, a charu ei gilydd, ac ymhyfrydu yng waſanaeth Duw yw

yw 'r peth? A yw y rhai'n gyfryw bethau a barent i ddynion orffwyllo.

3. Ac yn gymmaint ach bôd yn dywedyd fôd y pethau yma yn rhy uchel i ni, yr ydych yn achwyn ar Dduw ei hun am wneuthur hwn yn waith inni, a rhoddi i ni ei air, a gorchymyn i bawb ar a fynno fôd yn fendigedic fyfyrio ynddo ddydd a nôs. A ydyw y pethau y gwnaethpwyd ni oi plegyd, ac yr ydym ni yn byw oi plegyd, yn rhy uchel i ni iw trîn? Mae hyn yn llwyr i'n diddyndodi ni neu 'n bwrw ni i lawr o fôd yn ddynion, a'n gwneuthur yn anifeiliaid, fel ped fae tebyg ir rhai ni wasanaetha iddynt neu ni ddylaent ymhel á mattérion dim uwch nag a berthynant ir cnawd ac ir ddaiar. Os yw 'r nefoedd yn rhy uchel i chwi i feddwl am dani, ac i ymbaratoi iddi, hi a fydd rhy uchel i chwi byth iw meddiannu.

4. Pettau Dduw ymbell waith yn goddef i neb rhyw ddyn pen-egwan amhwyllo, wrth feddwl am bethau tragywyddol, hyn fydd oblegyd eu bôd yn eu cam-ddeall, ac yn rhedeg heb arweinydd: Ac o'r ddau, gwell oedd gennyf fod ynghyflwr y cyfryw un, nag ynghyflwr y byd gwallgofus annychweledic, y rhai a gymerant eu hammhwyll yn ddoethineb iddynt.

Gwrthddadl. 8. *Nid wyf i yn tybied fôd Duw yn gofalu cymmaint beth a feddylio, neu a ddywetto, neu a wnelo dynion;*

*ac*

*ac y gwnelo efe cymmaint defnydd o hono.*

*Atteb.* Mae yn debygol wrth hynny, ych bôd yn bwrw gair Duw yn gelwyddog, ac yno pa beth a gredwch? Eithr eich rheswm eich hun a allasai eich dyscu yn well, onid ydych chwi heb goelio yr scrythyrau: Canys chwi a welwch, na wnaeth Duw gyfrif cyn lleied o honom ni, na bu yn wiw gantho ein gwneuthur; ac y mae ef yn oestadol yn ein cadw, ac yn ein cynnal ni beunydd, ac yn darparu drosom: A wnaiff gwr call yn y bŷd ddefnydd-waith cywraint i ddim? A fydd i chwi wneuthur neu brynnu Clôcc neu Orlais, ac edrych am dano beunydd, ac heb ofalu pa un a wnelo efe ai myned yn gywir ai yn anghywir? Yn ddiau oni chredwch fôd neullduol lygad rhagluniaeth yn dal-sulw ar eich calonnau, a'ch buchеddau, ni ellwch chwi gredu na disgwyl, i un rhagluniaeth neullduol ddal-sulw ar eich diffygion, ach helbul, ich dianghenu. A phe buasei Dduw yn gofalu cyn lleied am danoch ac yr ydych chwi yn ei feddwl, ni buasech chwi fyth yn byw hyd yn hyn: Gant o glefydon a ymrysonasent pa un gyntaf a gowse eich destrywio: Ie, y Cythreuliaid a'ch cynllwynasent ac ach cyrchasent ymaith yn fyw, fel y mae pyscod mowrion yn llyngcu 'r lleiaf, ac fel y mae yr adar a'r anifeilied rheipus yn difa 'r lleill. Ni ellwch chwi dybied wneuthur o Dduw ddyn i ddim diben neu ddefnydd yn y byd: ac os gwnaeth efe ef o ran un diben, yn ddiammau er ei fwyn ei

hun y gwnaeth efe ef. Ac a ellwch chwi feddwl nas gwaeth ganddo pa un ai cyflowner ei ddibenion ef ai peidio, a pha un ai gwnelom yr hyn ein gwnaethbwyd oi plegyd ai peidio?

Ie trwy eich gwrthddadleuon Annuw, chwi a fynnwch i Dduw wneuthur a chynnal yr holl fyd yn ofer. Canys er mwyn pa beth y mae yr holl greaduriaid ifod eraill ond er mwyn dyn? Pa beth y mae y ddaiar yn ei wneuthur ond ein cynnal an maethu ni? A'r anifeiliaid fy yn ein gwafaneuthu á'i llafur ac â'i bywyd, ac felly am y lleill. Ac a wnaeth Duw y fath gyfanneddle mor ogoneddus, a gofod dyn i brefwylio ynddo, a gwneuthur pob peth yn weifion iddo, ac a yw efe yn awr heb edrych am ddim oddiar ei ddwylaw ef? Nac yn gofalu pa fôdd y meddylio, neu y llefaro, neu y bucheddo? Mae hyn yn llwyr anrhefymmol.

Gwrthddadl. 9. *Hawdd-ammor ir byd, neu gwell bŷd ydoedd, pan oedd dynion heb wneuthur cymmaint o ymyrreth mewn crefydd.*

*Atteb.* Yr arfer erioed oedd canmol yr amferoedd hynny ar a aethant heibio. Y bŷd y foniwch chwi am dano, oedd yn gynnefin o ddywedyd, gwell oedd y byd yn nyddiau ein henafiaid, ac felly yr oeddynt hwythau am eu henafiaid. Nid yw hon ond hên arfer; Am fôd gennym ni oll deimlad o ddrwg ein hamferoedd ein hunain, eithr nid

nid ydym ni yn canfod mor hyn oedd o'n blaen.

2. Nid hwyrach mai llefaru yr ydych chwi yn ol eich tŷb. Mae y rhai bydol yn tybied fod y byd ar y goreu, pan yw efe yn cyttuno â'i meddyliau hwynt; a phan gaffont fwyaf o lawenydd a digrifwch bydol. Ac nid oes ammau gennif, na ddywedei y Cythraul cystal a chwithau, mai gwell oedd y byd y pryd hynny; canys yr ydoedd efe yn cael mwy o wasanaeth y pryd hynny, a llai o rwystr. Eithr y bŷd sydd ar y goreu pan sydder yn caru, yn perchi, ac yn ufyddhau i Dduw yn fwyaf dim. A pha fôdd amgen y gwyddoch chwi pa bryd y mae 'r byd yn dda neu yn ddrwg ond wrth hyn?

Gwrthddadl 10. *Mae cynnifer o ffyrdd ac o Grefyddon, nas gwyddom ni pa un i fôd o honi, ac am hynny ni a fyddwn fel yr ydym.*

*Atteb.* O herwydd bod cynnifer, a fyddwch chwi o'r ffordd honno y gellwch fod yn siccr nad yw yn uniawn? Nid oes neb bellach allan o'r ffordd nâ'r pechaduriaid bydol, cnawdol, annychweledic. Canys nid ydynt hwy yn cyfeiliorni yn vnig yn yr opiniwn yma, neu 'r opiniwn accw, fel y mae bagad o Sectau, ond hyd yn oed yn ergyd ac amcan eu bucheddau. A'ch bod chwi yn myned ar daith y byddai eich einioes yn sefyll arni, a safech chwi neu droi yn ol, oblegid i chwi gyfarfod â rhai croes-ffyrdd, neu oblegyd eich bod yn gweled rhai fforddolion yn

tra-

trammwy ar hyd y ffordd feirch, a rhai ar hyd llwybr troed, a rhai ysgatfydd yn torri dros y cae, a rhai yn colli 'r ffordd? Yntau bod a wnaech yn hyttrach yn fwy gofalus i ymofyn y ffordd? Os oes rai gweision gennych nis gwyddant pa fodd y gwnant eich gwaith yn iawn, neu rai ar fydd anffyddlon, a gymerech chwi mewn rhan dda gan yr un or lleill, os byddent oblegyd hynny yn fegur, ac heb wneuthur i chwi ddim gwasanaeth, o herwydd eu bod yn gweled y lleill cynddrwg.

Gwrthddadl. 11. *Nid wyf fi yn gweled fod y rhai fydd mor dduwiol ddim gwell arnynt na dynion eraill. Maent cyn dylotted ac mor helbulus ac eraill.*

*At.* Ac ond odid yn fwy o lawer, pan welo Duw yn dda. Nid ydynt hwy yn cymeryd llwyddiant daiarol yn gyflog iddynt. Hwy a ddodasant eu trysor ai gobaith ynghadw mewn bŷd arall, ac onid ê nid ydynt hwy Gristianogion mewn gwirionedd. Po leiaf fydd ganthynt, mwyaf fy yn ol; ac y maent hwy yn fodlon i ddisgwyl hyd y pryd hynny.

Gwrthddadl. 12. *Darfyddo i chwi ddywedyd cymmaint oll ac a fedroch, mae yn fy mryd i obeithio yn dda, ac ymddiried yn Nuw, a gwneuthur oreu y gallwyf, ac na chymerwyf mor fath drafferth.*

*At.* Ai gwneuthur oreu y galloch yw,

pan na fynnoch ddychwelyd at Dduw, ond bod eich calon yngwrthwyneb iw sanctaidd ai ddyfal wasanaethef. Y mae yn ddiau yn oreu ar y *mynnoch*. Eithr hynny yw'ch trueni chwi.

2. Myfi a ddymunwn pes gobeithiech ac ymddiriedech yn Nuw: Eithr am ba beth y gobeithiwch? Ai am fôd yn gadwedic, os chwychwi a drowch a bod yn sanctaidd? Am hyn y mae i chwi addewid Duw: ac am hynny gobeithiwch am dano, ac nad arbedwch. Eithr os gobeithiwch am fod yn gadwedic heb Droad a buchedd sanctaidd, nid gobeithio yn Nuw yw hyn, ond yn Satan ac ynoch eich hunain. Canys ni roddes Duw i chwi ddim or fâth addewid, eithr efe a adroddodd y gwrthwyneb. Eithr Satan a Hunan-serch a wnaethant iwch y cyfryw addewidion, ac â'ch derchafasant ir cyfryw obeithion.

Iddo yn awr! os y rhai hyn, a chyffelyb ir rhai hyn yw 'r cwbl ar a feddwch iw ddywedyd yn erbyn Troad a buchedd sanctaidd, nid yw eich Cwbl chwi ddim, a gwaeth yw nâ dim: Ac os gwelir y rhai hyn a chyffelyb ir rhai hyn yn rhesymmau digonol, ich perswadio i ymwrthod â Dduw, ac ich taflu eich hunain i Uffern; yr Arglwydd a'n gwaredo ni rhag y fath resymmau, a rhag y fâth ddeillion ddealltwriaethau, a rhag y cyfryw galedion galonnau annheimladwy. A lefeswch chwi sefyll ar yr un o'r Rhesymmau

hyn

hyn wrth frawdle Duw? A ydych chwi yn tybied y gwasanaetha 'r trô i chwi ddywewedyd y pryd hynny, *Arglwydd ni ddychwelais i, oblegyd bod gennyf cymmaint iw wneuthur yn y bŷd, neu oblegyd nad oedd buchedda rhai Crefyddwyr wrth fy môdd, neu oblegid fy môd yn gweled dynion o gynnifer o opiniwnau.* O hawsed fydd i ddisgleirdeb y dydd hwnnw wradwyddo, a chwilyddio y cyfryw ymresymmiadau a'r rhai 'n? A ydoedd y byd i chwi i edrych ar i ôl? Bydded ir byd yr hwn a wasanaethasoch dalu i chwi yn awr eich cyflogau, ach gwaredu os geill. Onid oedd gennych well byd i edrych am dano yn gyntaf? Ac oni orchymynwyd i chwi yn gyntaf geisio teyrnas Dduw ai gyfiawnder ef, ac addaw y rhoddid yr holl bethau eraill i chwi yn ychwaneg? *Mat.* 6. 33. Ac oni fynegwyd i chwi fod duwioldeb yn fuddiol i bob peth, a chenddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd? 1 *Tim.* 4. 8. Ai pechodau Proffesswyr ach rhwystrodd? chwi a ddylasech yn hytrach fod yn fwy dichlyn a dyscedic wrth eu codymmau hwynt i ymochelyd, a bod yn fwy gofalus, ac nid yn ddiofalach: Yr scrythyrau ac nid eu buchedddau hwy oedd yn Rheol i chwi. Ai aml opiniwnau y byd a'ch rhwystrodd? Am ba beth? Ni ddyscodd yr yscrythur yr hon ydoedd eich Rheol onid un ffordd i chwi, a honno oedd yr iawn ffordd, Pe dilynasech honno ie yn yr hyn oedd eglur a hawdd, ni buasech chwi

byth

byth yn pallu. Oni bydd ir cyfryw attebion a'r rhai 'n eich cwilyddio a'ch diſtewi? Oni wnaiff y rhai hyn, mae gan Duw y rhai ai gwna. Pan ydyw ef yn gofyn ir dyn, *Mat.* 22. 12. y cyfaill pa fôdd y daethoſt i i mewn ymma, heb fôd gennit wiſc priodas, hynny yw pa beth a wnei di yn fy Eglwys, ymmlhith Criſtianogion wrth eu proffeſs, heb gennit galon a buchedd ſanctaidd? pa atteb a wnaeth efe? Ow, mae 'r text yn dywedyd yntef a aeth yn fûd; nid oedd gantho ddim iw ddywedyd. Eglurdeb y matter, a Mawrhydi Duw a gae eneuau y mwyaf ei hyder o honoch yn hawdd y pryd hynny, er na chaiff dim a fedrom ni ei ddywedyd wrthych mor maes arnoch yr awron, ond chwi a wnewch eich mattter yn dda, er dihired fyddo. Myfi a wn yn barod, na wnaiff un rheſwm ar a fedroch chwi ei roddi yr awron ddim lles i chwi yn y diwedd, pan fo 'n rhaid agoryd eich matter gar bron yr Arglwydd a'r holl fyd.

Nage, prin yr wyfi yn coelio fod eich cydwybodau eich hunain yn gwbl fodlon ich Rheſymmau. Canys os ydynt, mae yn debygol wrth hynny, nad ydych chwi cymmaint ac ar fedr edifarhau. Eithr os ydych chwi ar fedr edifarhau, mae yn debygol nad ydych yn rhoddi fawr hyder ar eich Rheſymmau, y rhai a ddygwch chwi yn ei erbyn.

Pa beth etto a ddywedwch chwi bechaduriaid annychweledic? A oes yr un rheswm da gennych iw roddi paham na Throech, ac na Troech yn ebrwydd â'ch holl galonnau? Yntau myned a wnewch chwi i uffern heb yn waetha i reswm ei hun? Ystyriwch mewn pryd pa beth yr ydych chwi yn ei wneuthur; Canys hi a fydd ar fyrder yn rhy-hwyr i chwi i ystyried. A fedrwch chwi gael bai ar Dduw, neu ar ei weithredoedd, nai gyflogau? Ydyw efe yn Feistr drwg? Ydyw 'r Cythraul yr hwn yr ydych chwi yn ei wasanaethu yn well? Neu 'r cnawd yn well? Oes dim Niwaid mewn buchedd sanctaidd? Ydyw buchedd fydol ac annuwiol yn well? Ydych chwi yn tybied yn eich cydwybodau y byddei ddim niwaid i chwi ddychwelyd a byw buchedd sanctaidd? Pa niwaid a ddichon efe wneuthur i chwi? Ai niwaid i chwi gael Yspryd Crist o'ch mewn? A chael calon lân buredic? Os yw 'n ddrwg bod yn Sanctaidd, paham y mae Duw yn dywedyd, *Byddwch sanctaidd, o herwydd sanctaidd ydwyf fi.* 1 Pet. 1. 15. *Lef.* 20. 7. Ai drwg yw bod yn debyg i Dduw? Oni ddywedir wneuthur o Dduw ddyn ar ei ddelw ei hun? Och, y Sancteiddrwydd hwn, yw ei ddelw ef: hon a gollod Adda, a hon a fynnei Grist trwy ei air ai yspryd ei hadferu i chwi, fel y mae yn gwneuthur a phawb oll ar a gatwo efe. Paham y bedyddiwyd chwi i'r

yspryd

Yſpryd glân, a pha ham yr ydych chwithau yn bedyddio eich plant ir Yſpryd glân megis eich Sancteiddydd, oni ſynnwch chwi mo'ch ſancteiddio ganddo ef, ond tybied mai niweidiol yw i chwi fod yn ſanctaidd? Mynegwch i mi am wir, megis gar bron yr Arglwydd, er bôd yn flin gennych ſyw buchedd ſanctaidd, Onid gwell ſyddei gennych farw y'nghyflwr y rhai ſy yn gwneuthur felly nag yngbyflwr rhai eraill? Pettych chwi i farw heddyw, ond gwell oedd gennych farw y'nghyflwr dyn dychweledic, nag yng-hyflwr yr annychweledic? yng-hyflwr y dŷn ſanctaidd a nefol, nag yng-hyflwr y dyn cnawdol daiariol? Ac oni ddywedech chwi megis *Balaam Num.* 23. 10. Marw a wnelwyf o farwolaeth yr union, a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntef. A pha ham na byddwch chwi yr awron o'r meddwl y byddoch y pryd hynny? Mae 'n rhaid i chwi ddyfod i hyn, naill ai cynt ai chwedi, naill ai i fôd yn ddychweledic, ai i ddymuno 'ch bôd pan yw hi yn rhy-hwyr.

Eithr pa beth yr ydych chwi yn ofni ei golli os Dychwelwch? Ai eich cyfeillion? Ni wnewch chwi ond eu newid hwynt: Duw a fydd yn gyfeill i chwi, a Chriſt a'r Yſpryd a fydd i chwi yn gyfeill, a phob Chriſtion a fydd i chwi yn gyfeill; Chwi a gewch un cyfeill a dalo i chwi fwy nâ'r holl gyfeillion yn y byd. Ni wnaethei y cyfeillion yr ydych chwi yn eu colli ond eich hudo i Vffern, eithr ni allaſent hwy moch

gwaredu: Eithr y cyfeill yr ydych chwi yn ei gael, a'ch gwareda rhag Vffern, ac a'ch dwg iw dragywyddol orphywysfa ei hun.

Ai ofni colli eich difyrrwch yr ydych? Yr ydych chwi yn tybied na chewch fyth ond hynny ddydd digrif, os Dychwelwch chwi unwaith. Och eich bôd yn tybied mai mwy dyfrrwch yw byw mewn digrifwch a thefach ynfyd, a rhyngu bödd ich cnawd, nâ byw mewn myfyrdodau credadwy am ogoniant y nêf, ac yngharia dDuw, ac ynghyfiawnder, a thangnheddyf, a llawenydd yr Yfpryd glân, yn yr hyn y mae cyffwr grâs yn fefyll, *Rhuf*. 14. 17. Os ydyw yn fwy dyfrrwch gennych chwi feddwl am eich tiroedd ach treftadaeth (pe byddech chwi Arglwyddi ar yr holl wlâd) nac y mae i blentyn i chware am binnau; paham na byddai yn fyw llawenydd i chwi feddwl am deyrnas nefoedd yn eiddoch, nag am holl olud a dyfyrrwch y byd? Megis nad oes ond ynfydrwydd babanaidd yn peri i blant ymhoffi felly mewn teganau, nad ymadawent â hwynt er eich holl diroedd: felly nid oes ond ynfydrwydd bydol, cnawdol, ac annuwiol yn peri i chwithau ymhoffi cymmaint yn eich teiau, a'ch tiroedd, a'ch bwyd, a'ch diod, a'ch efmwythder, a'ch parch, nad ymadawech chwi a hwynt er mwyn nefol ddifyrrwch. Eithr pa beth a wnewch chwi am ddifyrrwch pan ddarffo am hwn? A ydych chwi yn meddwl

ddwl am hynny? Pan fyddo 'ch difyrrwch chi yn diweddu mewn gerwinder, ac yn diffoddyd gydag angerdd drewllyd, y mae difyrrwch y saint ar y goreu. Ni chefais i fy hun ond ychydic brawf o'r hyfrydwch nefol, yn y rhag-fyfyrdodau am y dydd bendigedic sydd i ddyfod, ac yn yr annogaethau presennol o gariad Duw yNghrist; Eithr myfi a lymmeittiais ormod ar hyfrydwch daiarol (fel y gellwch weled, os wyf fi bartiol, mai ar eich tu chwi y mae:) ac etto mae 'n rhaid i mi addef trwy yr ychydic brawf hwnnw, nad ydynt hwy iw cyfflybu: Mae ychwaneg o lawenydd iw gael mewn un diwrnod (os bydd haul y bywyd yn tywynnu arnom yn olau) yn ystât Sancteiddrwydd, nag mewn oes gyfan o ddifyrrwch pechadurus. Dewiswn gadw drws yn nhŷ fy Nuw, o flaen trigo ym-mhebyll annuwioldeb, *Psal.* 84. 10. Gwell yw diwrnod yn dy gynteddau di nâ mil mewn un man arall, *Psal.* 84. 10. digrifwch yr annuwiol sydd debyg i chwerthiniad dyn ffôl, yr hwn nid edwyn moi drueni ei hun. Ac am hynny medd *Solomon* am y cyfryw chwerthiniad, *ynfyd yw; ac am lawenydd, pa beth a wna?* Preg. 2. 2. ar. 7. 2, 3, 4, 5, 6. *Gwell yw myned i dŷ galar na myned i dŷ gwledd, canys hynny yw diwedd pob dyn, a'r byw ai gesyd at ei galon. Gwell yw tristwch nâ chwerthin: Canys trwy dristwch yr wyneb-pryd y gwell-heir y galon. Calon doethion sydd yn nhŷ y galar: ond calon ffyliaid*

*ynnhŷ llawenydd, gwell yw gwrando ſen y doeth, na gwrando cân ffyliaid. Canys chwerthiniad dyn ynfyd ſydd fel clindarddach drain tan grochan.* Nid yw holl felusſwedd pethau cnawdol, ond megis coffa dyn y bo merwingôs arno: Ei gleſyd ſydd yn peri iddo ei chwennych: A gwell oedd gan ŵr doeth fod heb ei bleſer, na chael ei flino gan ei ſerwingôs. Nid ydyw eich crechwen uchaf ond megis yr hon ſydd gan ddyn a ogleiſier; mae eſe yn chwerthin pryd nad oes iddo achos o ddim llawenydd. A doethach yw i ddyn roddi ei holl gyfoeth ai fywyd am ei ogleiſio, i beri iddo chwerthin, nag yw i chwi ymadel â chariad Duw, ac a chyſurau Sanɛteiddrwydd, ac â'r gobaith o'r nefoedd, ach bwrw eich hunain i ddamnedigaeth, fel y galloch gael gogleiſio eich cnawd â difyrrwch pechod tros ennyd ſechan. Bernwch fel yr ydych chwi yn ddynion, a ydyw hyn yn rhan gŵr doeth. Nid oes ond eich naturiaeth gnawdol halogedic yn peri i fuchedd ſanɛtaidd ymddangos i chwi yn echryſlon, ac i gŵrs o felusſwedd bydol ymddangos mor hyfryd. Os chwi a ddychwelwch, fe ddyru yr Yſpryd glân i chwi Naturiaeth a Thuedd-fryd arall. Ac yna y bydd yn hyfrydach gennych gael ymwared oddiwrth eich pechod, nag yw yn awr gennych ei gadwef: Ac yna chwi a ddywedwch, na wybuoch chwi erioed pa beth oedd bywyd

comfforddus hyd yn hyn, ac na bu erioed yn dda arnoch, nes i chwi hoffi Duw a Sanctei-ddrwydd.

---

Cwest. E*Ithr pa fôdd y digwydd bôd dynion mor anrhesymmol ym matterion eu hiechydwriaeth? mae ganthynt ddigon o synwyr mewn matterion eraill; Pa beth a bair iddynt fôd mor wrthnysic i ddychwelyd, fel y byddai raid wrth gynnifer o eiriau mewn matter mor eglur, ac na thyccia 'r cwbl, eithr y rhan fwyaf a fyddant byw a meirw heb ddychwelyd?*

*Atteb.* Iw henwi hwynt yn vnig ar fyrr eiriau, yr achosion yw y rhai hyn.

1. *Mae dynion wrth naturiaeth yn Caru y ddaiar a'r cnawd:* Hwy a anwyd yn becha-duriaid, ac y mae gelyniaeth rhwng eu na-turiaeth hwynt a Duw ac a Duwioldeb, fel y mae rhwng naturiaeth y sarph a dyn; a phan yw 'r cwbl a fedrom ni i ddywedyd yn myned y'ngwrthwyneb i reddfol ogwyddiad eu naturiaeth hwynt, nid rhyfedd na thyccio chwaith nem-mawr.

2. *Maent mewn Tywyllwch, ac ni wy-ddant cymmaint a'r pethau y maent yn eu clywed.* Tebyg i ddyn a anwyd yn ddall, ac sydd yn clywed mowrglod ir goleuni.

Eithr pa beth a dâl clywed, oddieithr iddo ei weled ef? Ni wyddant hwy pa beth yw Duw, na pha beth yw grym croes Crist, na pha beth yw Yspryd Sancteiddrwydd, na pha beth yw byw mewn Cariad trwy ffydd; Nid ydynt hwy gydnabyddus â siccrwydd, ac a chymmhwysdra, ac ardderchowgrwydd yr etifeddiaeth nefol. Ni wyddant hwy pa beth yw Troedigaeth, a Bwriad, ac Ymarweddiad sanctaidd, pan y clywant sôn am dano. Maent mewn niwlen o anwybodaeth. Maent yn gyfr-golledic a chwedi ymddyrysu mewn pechod: cyffelyb i ddyn a syddei gwedi myned ar ddisberod liw nôs, ac nis gŵyr pa le y mae, na pha fôdd i ddyfod eil-waith atto ei hun, nes i liw-dydd ei gysarwyddo ef.

3. *Maent hwy yn gyndyn hyderus nad rhaid iddynt wrth Droedigaeth, ond rhyw ddarn-wellhaad*, eithr eu bod hwy eusys ar y ffordd ir nefoedd, ai bod wedi dychwelyd pan nad ydynt. Ac os cysarfyddwch â gŵr ar sy ym-mhell allan o'r ffordd, chwi a ellwch alw arno ef yn ddigon hir i ddychwelyd yn ei ôl, os efe ni choelia moi fôd allan oi ffordd.

4. *Maent wedi myned yn gaethweision iw cnawd, a chwedi boddi yn y byd i rag-ddarparu trosto.* Eu trythyllwch, au gwyniau, a'u chwantau, a'u gorffwyllodd, ac a gowsant yr oruchafiaeth felly arnynt, nas medront ddywedyd pa fodd y nacâant hwy y rhain, na

pha

pha fodd y meddyliant am ddim arall. Mae 'r Meddwyn yn dywedyd, *Caru yr wyf fi gwppanaid o ddiod dda, ac ni fedrai mor* ymattal. Medd y Glwth, da gennyf fir dda ac ni fedrai fod hebddo. Medd y Putteiniwr da gennyf fi gael cyflowni fy 'nrhachwant, ac ni fedrai mor peidio. Gwŷch gan y Chwareydd gael ei chwareyddiaeth, ac ni fedr ef mor peidio; Hyd onid ydynt wedi myned yn llwyr gaethweision iw cnawd; Ai gwyllt wrth-naws á brifiodd yn wendid. A'r hyn nis mynnant moi wneuthur, hwy a ddywedant nas gallant. A'r dyn bydol fydd wedi ymosod cymmaint ar bethau daiarol, nad oes gantho na chalon, na meddwl, nac ennyd ir pethau nefol. Eithr megis ym mreuddwydd Pharao, *Gen.* 41. 4. *y gwartheg culion a fwyttasant y rhai breision*; felly y ddaiar gûl anffrwythlon hon sy'n bwytta yr holl feddyliau am y nefoedd.

5. *Mae rhai gwedi eu dwyn ymmaith gyda ffrwd drwg gymdeithas, hyd onid ydynt wedi eu perchennogi a meddyliau caledion am fuchedd sanctaidd, wrth eu clywed hwynt yn siarad yn ei herbyn*; neu, o'r hyn lleiaf y maent yn tybied, y gallant anturio gwneuthur, megis y maent yn gweled y rhan fwyaf yn gwneuthur. Ac felly yr ânt rhagddynt, yn eu ffyrdd pechadurus; A phan dorrer un ymaith ai daflu i Vffern, a chipio un arall allan oi plith hwynt ir unrhyw ddamnedigaeth, nid yw yn cyffroi fawr arnynt, oblegid nad

ydynt yn gweled i ba le yr aethant: Druein gwerin, y maent hwy yn myned rhagddynt yn eu hannuwioldeb er hyn i gyd; Canys bychan y gwyddant fod eu cymdeithion yn galaru or plegyd mewn penydiau. Yn *Luc.* 16. Y gŵr goludog a fynnasei i un rybuddio ei bum brodyr, rhag iddynt ddyfod ir lle poenus hwnnw. Mae yn debygol yr adwaenei ef eu meddyliau a'u bucheddau hwynt, ac y gwyddai eu bôd hwynt yn pryfuro yno, ac heb freuddwydio chwaith nemmawr oi fod ef yno, ac ni roesent fawr goel ar y neb a fynegasei iddynt hynny. Yr wyfi yn cofio chwedl a fynegwyd i mi gan wr bonheddic ar fydd etto yn fyw, yr hyn a welsai efe ar bont ar Hafren. Gŵr oedd yn gyrru diadell o ŵyn breision, a rhyw beth yn cyfarfod a hwynt, ac yn eu rhwystro i fyned yn eu blaen, un o'r ŵyn a neidiodd ar ganllaw 'r bont, ai draed a lithrodd oddi tano, ac yntau a fyrthiodd ir ffrwd; Y lleill wrth ei ganfod ef, a neidiasant y naill ar ol y llall tros y bont ir ffrwd, ac hwy a foddwydd oll, neu oll gan y mwyaf. Bychan y gwyddei y rhai oedd o'r ôl, beth a ddaethei o'r rhai a aethent o'r blaen, eithr a dybiasent y gallasent anturio dilyn eu cymdeithion: Ond hwy 'n gynta ac yr aethant tros y ganllaw ai bôd yn pentwyno i lawr bendramwnwgl, yr oedd y matter wedi ei gyfnewid: felly yn uniawn y mae gydâ dynion cnawdol annychweledic. Mae un yn marw yn eu hy-

*M. R, Rowly o'r Amwithig ar Bont Acham.*

myl hwynt, ac yn diferu i Vffern, ac un arall yn canlyn ar hyd yr unfford; ac er hynny hwy a ânt ar eu hôl, oblegyd nad ydynt yn ystyried i bâ le yr aethant. Ah! eithr pan agoro marwolaeth eu llygaid, a chanfod o honynt pa beth sydd or tu arall ir ganllaw, sef mewn byd arall, yna pa beth a roddent am fôd lle i buont!

6. *Am benn hyn, mae ganthynt elyn cyfrwys, ystrywgar, yr hwn nis gwelant, ac sydd yn gosod ei rwydau ar lawr yn y tywyll: ai brif orchwyl yw rhwystro eu dychweliad*, ac am hynny iw cadw lle y maent, trwy eu perswadio i fod heb gredu yr yscrythyrau, ac heb flino eu meddyliau â'r pethau hyn: neu trwy eu perswadio i feddwl yn ddrwg o fuchedd dduwiol, neu i dybied ei fod yn fwy ymmerreth nag a oedd raid, ac y gallant fod yn gadwedig heb ddychwelyd, ac heb yr holl drafferth hon; a bod Duw mor drugarog na ddamnia efe neb oi cyffelyb hwynt: neu o'r hyn lleiaf y gallant hwy aros ychydic hwy, a chymeryd eu dysyrrwch, a dilyn y byd etto ychydic hwy, ac yno ymado ag ef, ac edifarhau ar ol hynny. A thrwy y cyfryw dwyllgar hoccedion hudolaidd a'r rhai'n, y mae y Cythrael yn cadw y rhan fwyaf tan ei gaethiwed, ac yn ei harwain iw drueni.

Y rhwystrau hyn, a chyffelyb ir rhai hyn, sy 'yn cadw cynnifer o filoedd heb ddychwelyd, gwedi i Dduw wneuthur cymmaint, ac i Grist ddioddef cymmaint, ac i

weinidogion ddywedyd cymmaint er mwyn iddynt ddychwelyd: gwedi goſtegi eu rheſymmau, a nhwythau heb allu atteb ir Arglwydd yr hwn ſy yn galw ar eu hôl [*Dychwelwch, dychwelwch, paham y byddwch feirw?*] etto nid yw'r cwbl ddim gydâ 'r rhan ſwyaf o honynt: ac ni adawant hwy ddim ychwaneg i ni iw wneuthur, darſyddo y cwbl, ond eiſtedd i lawr, a galaru oblegyd y trueni y daethant hwy a'u hunain iddo.

---

MYſi a ddangoſais weithian i chwi mor reſymmol yw Eirchion Duw, ac mor anreſymmol yw i ddynion annuwiol anuſyddhau. Oni waſanaetha dim mor trô, ond bod dynion er hyn yn gwrthod Troi, yn y man neſaf mae i ni iw yſtyried, o ran pwy y mae os hwy a ddemnir. A hyn ſydd yn ſy arwain at yr athrawiaeth olaf, yr hon yw.

---

Athr. 7. O*Ni ddychwel dynion wedi hyn oll, nid o ran Duw y maent yn ddamnedic, ond o'u rhan eu hunain, ſef, o blegyd eu cyndynrwydd eu hunain: meirw y maent, oblegyd hwy a ſynnant*

*nant feirw, hynny yw oblegyd na fynnant ddychwelyd.*

Os mynnwch chwi fyned i Vffern pa help fydd. Mae Duw yn hyn o fan yn ei glirio ei hun oddiwrth eich gwaed: ni chaiff ef fefyll arno efe, os byddwch chwi golledig. Gweinidog efceulus a eill i dynnu ef arno ei hun; A'r fawl ydynt yn eich cefnogi mewn pechod, neu heb eich rhwyftro, a allant ei dynnu ef arnynt hwythau; Eithr bydded ficcr gennych, na chaiff ef fefyll ar Dduw. Yr Arglwydd a ddywaid am ei Winllan anfuddiol, *Efay.* 5, 1, 2, 3, 4. *Bernwch attolwg rhyngofi a'm gwinllan: beth oedd iw wneuthur ychwaneg im gwinllan, nag a wneuthum yndai? Gwedi iddo ei phlannu mewn bryn tra-ffrwythlon, ai chloddio, ai di-garregi, ai phlannu o'r wynwydden oreu*: Beth ychwaneg a wnae efe iddi? Efe a'ch gwnaeth yn ddynion, ac ach cynnyfcaeddodd â rhefwm. Efe ach cyflownodd a phob angenrheidiau oddiallan; Mae yr holl greaduriaid i wneuthur i chwi wafanaeth. Efe a roddes i chwi ddeddf berffaith gyfiawn. Pan dorafoch hi, a'ch anafu eich hunain, efe a dofturiodd wrthych, ac a anfonodd ei fâb trwy ryfeddfawr drugaredd i farw trofoch, ac i fod yn aberth tros eich pechodau, ac yr ydoedd ef yn *Ghrift yn cymmodi 'r byd ag ef ei hun.* Yr Arglwydd Iefu a wnaeth i chwi weithred o râd roddiad o hono ei hun, ac o fywyd tragywyddol gydag ef ei hun, tan

ammod i chwi cymmaint ai derbyn a dychwelyd. Ar yr ammod rhesymmol yma y cynigiodd ef i chwi hyrâd faddeuant o'ch holl bechodau: Efe a scrifennodd hyn yn ei air, ac a'i seliodd trwy ei yspryd, ac ai hebryngodd i chwi trwy ei weinidogion; Hwy ai cynnygiasant i chwi gant a chant o weithiau, ac ach galwasant iw dderbyn ac i Droi at Dduw. Yn ei enw ef yr ymbiliasant arnoch, ac yr ymresymmasant a chwi y'nghylch y peth, ac yr attebasant eich holl wrthddadleuon coegion. Efe a hîr ddisgwiliodd wrthych, ac a arhosodd wrth eich trwynau, ac a oddefodd i chwi ei amherchi yn ei wyneb. Efe a'ch cynhaliodd yn drugarog yng hanol eich pechodau: efe a'ch amgylchynodd â phob math a'r drugareddau: Efe hefyd a gydtymmerodd gystuddiau i ddwyn ar gôf i chwi eich ffoledd ac ich galw ich côf: Ai Yspryd ef a fu yn fynych yn ymryson â'ch calonnau, ac yno yn dywedyd, [*Dychwel bechadur, Dychwel at yr hwn sy yn galw arnat, i ba le yr wyt ti yn myned? Beth yr wyt yn ei wneuthur? A wyddost di beth a fydd y diwedd? Pa hyd y casei di dy garedigion, ac y ceri dy gaseion? Pa bryd y gollyngi bob peth ymaith a throi, ath roddi dy hun i Dduw, a Chyflwyno dy enaid ym meddiant dy Brynwr? Pa bryd bellach?*] fal hyn yr arferwyd ymddadlau a thydi. A phan oedaist, fe ddiriwyd arnat i brysuro, a Duw ath alwod, [*Heddyw, tra gelwir hi heddyw, na chaleda dy galon; pa*
*ham*

*ham nad yn awr heb oedi ym mhellach?* Goſodwyd einioes gar eith bronnau; llawenydd y nef a ddatcuddiwyd i chwi yn yr Efengyl; Y ſiccrwydd o honynt a eglurwyd; Y ſiccrwydd o boenau tragywyddol y rhai damnedic a fynegwyd i chwi: Oni fynnech chwi gael golwg ar y nefoedd ac uffern, pa beth yn ychwaneg a ddymunech? Criſt a oſodwyd gar bron eich llygaid megis wedi ei groeſhoelio, *Gal.* 3. 1. Mynegwyd i chwi ganwaith nad ydych ond dynion colledic nes ych dyfod i mewn atto ef. Cyn fynyched a hynny y mynegwyd i chwi am ddrwg y pechod, am wagedd y byd, a'r holl feluſwedd, a'r golud a ddichon ef i gyſrannu; am fyrdra ac anſiccrwydd eich einioes; a didrangc barháad llawenydd, neu benyd y bywyd a ddaw. Hyn oll, ac ychwaneg nâ hyn a fynegwyd i chwi, ac a fynegwyd drachefn, ie nes i chwi flino yn ei glywed, ac nes medru o honoch wneuthur llai cyfrif o hono o herwydd i chwi ei glywed ef cyn fynyched. Tebyg ydych i gi'r Gôf, yr hwn a ddygwyd wrth ymg'nefindra i gyſgu tan ſwn y morthwylion, a'r pryd y bo'r gwreichion yn taſcu o amgylch ei gluſtiau: Ac er na ddarfu i hyn oll moch troi, yr ydych chwi etto yn fyw, ac a allaſech gael trugaredd hyd y dydd heddyw, ped faſai gennych galonnau iw dderbyn. Ac yn awr gedwch i Reſwm ei hun fôd yn farnwr, ai o ran Duw, yntau o'ch rhan eich hunain y mae, os byddwch chwi gwedi hyn ei gyd

yn

yn annychweledic a damnedic? Os byddwch feirw yn awr, hynny sydd oblegyd chwi a fynnwch feirw. Beth a ddylesid ei ddywedyd wrthych yn ychwaneg, ne pa gwrs a ddylesid ei gymeryd, ar a fuasei tebyccach i dyccio? A ellwch chwi ddywedyd, ai wneuthur yn dda, *Ni a fynnasem fod wedi dychwelyd a myned yn greaduriaid newyddion, eithr nis gallem; Ni a fynnasem ymwrthod a'n pechodau, eithr nis gallem; nyni a fynnasem newid ein cymdeithas, a'n hamcanion, a'n hymddiddanion, ond nis gallem?* Pa ham nas gallasech pes mynnasech? Beth a'ch rhwystrodd oddieithr drygioni eich calonnau? Pwy a'ch gyrrodd i bechu? Neu pwy a'ch cadwodd rhag gwneuthur eich dyledswydd. Oni chowsoch chwi yr unrhyw addysc, ac adeg, a rhydd-did i fod yn dduwiol ac a gafodd eich cymmydogion duwiol? Pa ham gan hynny nas gallasech chwi fod yn dduwiol cystal a hwythau? A ydoedd drws yr Eglwys yn gaead ich erbyn chwi? Yntau eich cadw eich hunain allan a wnaethoch? Yntau eistedd a chyscu, neu wrando megis pe na wrandowsech? A roddes Duw ddim llysiant i mewn yn ei air i'ch erbyn, pan wahoddodd efe bechaduriaid i ddychwelyd, a phan addawodd efe drugaredd i'r sawl a ddychwelent? A ddywedodd ef, [*Mysi a faddeuaf i bawb a edifarhao onid i ti?*] A gaeodd ef chwi allan oddiwrth ryddfraint ei addoliad sanctaidd? A waharddodd ef i chwi weddio arno

ef

ef mwy nag i eraill? Chwi a wyddoch nad dô. Ni yrrodd Duw chwi ymaith oddiwrtho; eithr Chwychwi ai gwrthodasoch ef, ac a redasoch ymaith eich hunain. A phan ich galwodd atto, ni synnech mor dywad. Pe buasei Dduw yn eich cwlio chwi allan o'r addewid, a'r cynnyg cyffredinol o drugaredd, neu yn Dywedyd wrthych, [*sefwch draw, ni bydd i mi a wnelwyf a neb o'ch cyffelyb: na weddiwch arnaf, canys ni wrandawai m'honoch: er maint a edifarhaoch, ac er maint a lefoch am drugaredd, ni ofalaf am danoch:*] Pe gadowsei Dduw chwi heb ddim i ymddiried ynddo ond mewn anobaith, yna y basei gennych escus têg. Chwi a allasech ddywedyd [*I ba berwyl yr edifarhawn ac y dychwelwn, gan na bydd hynny er daioni?*] Eithr nid hwn oedd eich cyflwr chwi. Chwychwi a allasech gael Crist yn Arglwydd ac yn Jachawdwr i chwi, yn Benn ac yn Briod i chwi cystal ac eraill; ac nis mynnech, oblegyd nad oeddech yn ymglywed yn ddigon cleifion ir Physygwr, ac o herwydd nas gallech chwi hepcor mo'ch clwyf: Yn eich calonnau chwi a ddywedasoch megis y gwrthryfelwyr hynny, *Luc.* 19. 14. *Ni synnwn ni mo hwn i deyrnasu arnom. Crist a fynasei eich casclu tan adenydd ei iechydwriaeth, ac nis mynnech,* Mat. 23. 37. Pa ddymuniadu och hawddfyd a adroddodd yr Arglwydd yn ei sanctaidd air? A pha dosturi y safod efe gerllaw i chwi? gan ddywedyd [*Oh na wrandowsei fy*

*mhobl*

*mhobl arnaf, na rodiasai Israel yn fy ffyrdd* Psal. 81. 13. *Oh na byddei gyfryw galon ynddynt im hofni i, ac i gadw fy holl orchymynion bob amser, fel y byddei dâ iddynt ac iw plant yn dragywyddol:* Deut. 5. 29. *Oh na baent doethion, na ddeallent hyn, nad ystyrient eu diwedd:* Deut. 32. 29. *Efe a fasai yn Dduw i chwi*, ac a wnaethai drosoch bob dim ar a allasei eich eneidiau ei iawn ddymuno. Ond chwi a garasoch y byd a'ch cnawd uwch ei law ef, ac am hynny ni wrandawech arno: Er i chwi wneuthur peth ffapri ag ef, a rhoddi iddo enwau parchedic, etto pan ddaeth y peth ir eithaf, ni fynnech mhono, *Psal.* 81. 11, 12. Nid rhyfedd gan hyny oedd *iddo ych gollwng yng-hyndynrwydd eich calon, a'ch myned yn eich cyngor eich hunain*] Efe a ymostyngodd i ymresymmu â chwi, ac i ofyn i chwi [*Beth sydd ynof, neu yn fy ngwasanaeth fel y byddech cymmaint im herbyn? Pa niweid a wneuthum iti bechadur? A haeddais i yr anghymwynas hwn ar dy law? Llawer o drugareddau a ddangosais it, am ba un o honynt, yr wyt ti fal hyn im dirmygu? Ai myfi, ai Satan yw dy elyn? Ai myfi, yntau dy hunan gnawdol a fynnai dy anafu? Ai buchedd sanctaidd, yntau buchedd bechadurus y mae i ti achos i ffoi rhagddo? Os derfydd am danat, yr wyt ti yn ynnill hyn i ti dy hun, trwy fy ngwrthod i yr Arglwydd a fynnaswn dy waredu.* Jer. 2. 17. *Onid yw dy ddrygioni dy hun yn dy Gospi, ath bechod*

*yn*

*yn dy geryddu, fel y gellych weled mai drwg a chwerw ydyw i ti syngwrthod?* Jer. 2. 19. *Pa anwiredd a gowsoch chwi ynofi gan i chwi ymbellau oddiwrthyf, a rhodio ar ôl oferedd, a myned yn ofer? Jer.* 2. 1, 5. 6. Mae efe yn llefain allan fel ped fae ar y creaduriaid mudion i wrando ar y cwyn sydd gantho yn eich erbyn, *Mic.* 6. 2, 3, 4, 6. *Gwrandewch y mynyddoedd a chedyrn sylfeini y ddaiar gŵyn yr Arglwydd, canys y mae cŵyn rhwng yr Arglwydd ai bobl, ac efe a ymddadleu ag Israel. Fy mhobl, beth a wneuthum i ti? ac ymmhâ beth i'th flinais? tystiolaetha i'm herbyn: canys mi a'th ddygais o dir yr Aipht, ac a'th ryddheais &c. Gwrandewch nefoedd, clyw ditheu ddaiar, Canys yr Arglwydd a lefarodd: megais a meithrinais feibion, a hwy a wrth-ryfelasant im herbyn. Yr ŷch a edwyn ei feddiannudd, a'r assyn breseb ei berchennog: ond Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeall. Oh genhedlaeth bechadurus, pobl lwythoc o anwiredd, hâd y rhai drygionus, &c.* Esay. 1. 2, 3, 4. [*Ai hyn a delwch i'r Arglwydd bobl ynfyd ac angall? ond efe yw dy dâd, a'th brynwr? ond efe a'th wnaeth ac a'th siccrhaodd?* Deut. 32. 6] Pan gansu ef eich bod chwi yn ei wrthod ef yn ddiachos, ac yn troi ymaith oddiwrth eich Arglwydd ach bywyd, i ymymlid ar ôl ûs, a mân blu y byd, efe a fynegodd i chwi eich ffoledd, ac ach galwodd i orchwyl-waith mwy buddiol, *Esay* 55. 1, 2, 3, 6, 7. *Paham y gweriwch*

*riwch arian am yr hyn nid ydyw fara, ach llafur am yr hyn nid yw yn digoni? gan wrando gwrandewch arnafi, a bwyttewch yr hyn sydd dda, ac ymhyfryded eich enaid mewn brasder. Gogwyddwch eich clust, a deuwch attaf; gwrandewch, a bydd byw eich enaid? ac mi a wnâf gyfammod tragywyddol â chwi, sef siccr drugareddau Dafydd. Ceisiwch yr Arglwydd tra galler ei gael ef, gelwch arno, tra fyddo yn agos. Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gŵr anwir ei feddyliau, a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymmer drugaredd arno; ac at ein Duw ni; o herwydd efe a arbed yn helaeth.]* *Ac felly Esay.* 1. 16, 17, 18. A phan na wrandawech, pa achwynion y gosodasoch ef arnynt, gan haeru y peth arnoch chwi, mai eich gwrthnysigrwydd a'ch pengaledrwydd ydoed, *Jer.* 2. 12, 13. *O chwi nefoedd synnwch wrth hyn, ac ofnwch yn aruthrol. Canys dau ddrwg a wnaeth fy mhobl, hwy am gadawsant i ffynnon y dyfroedd byw, ac a gloddiasant iddynt eu hunain bydewau, ie pydewau wedi eu torri, ni ddaliant ddwfr,* [Llawer gwaith y cyhoeddodd Crist i chwi y rhâd wahoddiad hwnnw, *Dat.* 22. 17. *Yr hwn sydd a syched arno, deued, a'r hwn sydd yn ewyllysio, cymmered ddwfr y bywyd yn rhad.*] Eithr chwi a berwch iddo ef gwyno yn ôl yr holl gynnygion hyn [*Ni ddeuant attafi, fel y caffont fywyd, Jo.* 5. 40.] Efe a'ch gwahoddodd i wledda gydag ef yn nheyrnas ei râs, a chwithau oeddych a'ch es-

cuſodion gennych oddiwrth eich tiroedd, a'ch anifeiliaid, ach gorchwylion bydol, a phan na ſynnech ddyfod, dywedaſoch nas gallech, ac ai hannogaſoch yntau i roddi ei fryd na chaech chwi byth brofi oi *ſwpper ef*, *Luc.* 14. 15. hyd 25. Ac o herwydd pwy yn awr y mae 'r peth ond och herwydd chwi eich hunain? A pheth a fedrwch chwi ddywedyd yw'r achos pennaf o'ch damnedigaeth, ond eich ewyllys-fryd eich hunain? Chwi ſynnech eich damnio. Yr holl fatter a eglurwyd gan Griſt ei hun. *Dih.* 1. 20. hyd y diwedd, [*Doethineb ſydd yn gweiddi oddi allan; y mae hi yn adrodd ei lleferydd yn yr heolydd: Y mae hi yn llefain ym mhrifleoedd y dyrfa, yn nryſau y pyrth,* -------- *Pa hyd chwi ynfydion, y cerwch ynfydrwydd, a chwi watwarwyr, y bydd hôff gennych watwar? ac y caſâ ffyliaid wybodaeth? Dychwelwch wrth fyngherydd: wele mi a dywalltaf fy yſpryd i chwi, fy ngeiriau a yſpyſaf i chwi. Yn gymmaint ac i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod, i mi eſtyn fy llaw, a neb heb yſtyried; ond diyſtyraſoch fy holl gyngor i, ac ni ſynnech ddim om cerydd; minnau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi, mi a wawdiaf pan ſyrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni. Pan ddel arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni, megis deſtryw, ac y del eich dialedd arnoch megis cor-wynt, a dyfod arnoch waſcfa a chaledi: yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf:*

*...ndawaf : yn foreu im ceisiant, ond ni'm cânt. Canys câs fu ganthynt wybodaeth, ac ofn yr Arglwydd ni ddewisasant. Ni chymmerent ddim o'm cyngor i, dirmygasant fy holl gerydd. Am hynny hwy a gânt fwytta ffrwyth eu ffyrdd eu hunain, ai llenwi a'i cynghorion eu hunain. Canys esmwythdra y rhai angall ai llâdd, a llwyddiant y rhai ffôl a'i difetha. Er hynny y sawl a wrandawo arnafi, a gaiff aros yn ddiogel, ac a gaiff heddwch oddi wrth ofn drwg.*] Myfi a dybiais yn oreu adrodd i chwi yr holl destyn yn helaeth, am iddo fôd mor gyflawn yn dangos yr achos o ddinistr yr annuwiol. Nid yw 'r peth o herwydd na ddyscai Duw hwynt, ond o herwydd na fynnent hwy moi dyscu. Nid yw 'r peth o herwydd nas galwai Duw hwynt, ond o herwydd na ddychwelent hwy wrth ei gerydd ef. Eu gwrthnysigrwydd sydd yn eu difetha.

# Defnydd.

ODdiwrth yr hyn a ddywedpwyd chwi a ellwch ddyscu ym mhellach y pethau hyn sy'n canlyn.

1. Oddi yma y gellwch weled, nid yn unic pa gabledd ac annuwioldeb yw bwrw 'r bai o ddinistr dynion ar Dduw; ond hefyd mor anaddas yw'r gweision diffaith hyn i roddi y fâth beth yn erbyn eu gwneuthurwr. Maent yn crôch lefain ar Dduw, ac yn dywedyd, nad yw efe yn rhoddi grâs iddynt, a bôd ei fygythion yn dôst, ac na atto Duw bôd pawb yn ddamnedic ar ni throesant ac na sanctei-ddiwyd? Ac hwy a dybiant mai mesur caled yw cael o fyrr bechod ddidrangc ddiodde-faint; Ac os demmir hwynt (meddant) ni allant wrtho: tra bônt yn y cyfamser yn brysur ynghylch eu dinistr eu hunain, sef yn torsynyglu eu heneidiau eu hunain, ac ni fyn-nant moi perswadio i attal eu dwylaw. Tybied y maent y byddei Dduw yn greulon pettau ef yn eu damnio hwynt: ac etto maent mor greulon wrthynt eu hunain ac y rhedant i dân Vffern, a Duw wedi mynegi iddynt ei fod ef ychydic oi blaen hwynt, ac ni ettyl ymbiliau mhonynt, na bygythion chwaith, na dim

dim ar a aller ei ddywedyd. Nyni ai gwelwn hwynt agos wedi darfod am danynt: Mae eu bucheddau. diofal, bydol, cnawdol yn mynegi i ni eu bod hwynt tan allu y Cythrael: Nyni a wyddom os meirw a wnant cyn iddynt ddychwelyd, na ddichon yr holl fyd moi hachub: a chan wybod ansiccrwydd eu heinioes, yr ydym ni beunydd yn ofni rhag iddynt ddiferu ir tân: ac am hynny yr ydym ni yn dymuno arnynt dosturio wrth eu heneidiau eu hunain, ac na ddinistriont mhonynt eu hunain tra bo trugaredd yn agos; a nhwythau ni wrandawant mhonom. Yr ydym ni yn dymuno arnynt daflu ymaith eu pechod, a dywad at Grist yn ddi-ymdro, a dangos ychydic drugaredd iddynt eu hunain, eithr ni ddangosant ronyn: Ac etto hwy a dybiant mai rhaid i Dduw fôd yn greulon os condemnai efe hwynt. O bechaduriad truein gorphwyllog! Nid Duw sydd greulon wrthych; Chwychwi ydych greulon wrthych eich hunain; Mynegwyd i chwi mai rhaid i chwi Droi neu Losci, ac er hynny ni Throwch. Mynegwyd i chwi os mynnwch chwi gadw eich pechodau, y cewch gadw melltith Dduw gyda hwynt; ac er hynny chwi ai cedwch. Mynegwyd i chwi, nad oes un ffordd i Happusrwydd ond trwy Sancteiddrwydd; ac er hyn ni fynnwch fod yn Sanctaidd. Beth ychwaneg a fynnech chwi i Dduw ddywedyd wrthych? Beth a fynnech chwi iddo wneuthur â'i drugaredd? Mae ef yn ei chynnyg i

chwi ac ni fynnwch mhoni. Yr ydych chwi yng-heufios pechod a thrueni, yntau a estynnau ei law ich cynnorthwyo allan, a chwithau a wrthodwch ei gymmorth. Efe a fynnei eich glanhau oddiwrth eich pechod, a gwell gennych chwithau ei cadw hwynt. Caru yr ydych eich trythyllwch, a charu eich glothineb, ach chwareyddiaeth, ach meddwdod, ac ni hepcorwch hwynt. A fynnech chwi iddo ef eich dwyn ir nefoedd heb yn waethaf i chwi? Neu a fynnech chwi iddo ef eich dwyn chwi a'ch pechodau hefyd ir nefoedd: Och fi! mae hynny yn ammhosibl; Chwi a ellwch mor hyddaf ddisgwil iddo Droi yr haul yn dywyllwch. Pa beth! bôd calon gnawdol, ansanctaid yn y nefoedd! ni eill hynny mor bôd; *Nid â i mewn yno ddim aflan, Dat.* 21. 27. *Canys pa gymmundeb sydd rhwng goleuni a thywyllwch, rhwng Crist a* Belial, 2. *Cor.* 6. 14, 15. *Ar hyd y dydd yr estynnais fy nwylo at bobl anufydd ac yn gwrth-ddywedyd.* Rhuf. 10. 21. Beth weithian a wnewch chwi? A lefwch chwi ar Dduw am drugaredd? Ow! mae Duw yn galw arnoch i drugarhau wrthych eich hunain, a chwithau nis gwnewch. Mae Gweinidogion yn gweled y Cwppan wenwynig yn llaw 'r Meddwyn, ac yn dywedyd wrtho, *Mae gwenwyn ynddi,* ac yn dymuno arno drugarhau wrth ei enaid, ac ymattal, ac yntau ni wrendi arnom: Rhaid iddo ei hyfed hi, ac fe ai gwnâ: Ei charu y mae ef,

ac

ac am hynny pe rhôn a dyfod Uffern yn y man nesaf, nid eill ef wrtho. Beth a alla un ei ddywedyd wrth y fâth ddynion a'r rha hyn? Yr ydym ni yn mynegi ir dyn bydol difraw, annuwiol, ni wasanaetha y cyfryw *fuchedd mor tro, ac nas dwg hi mhonoch byth ir nefoedd.* Pettau Arth ar eich gwarthaf, chwi a symudech eich pâs: a phan ydyw melltith Dduw ar eich gwartha, a Satan ac Uffern ar eich gwartha, oni chynhyrfwch chwi ddim, ond gofyn paham y rhaid wrth y holl drafferth yma? Ai ni thâl enaid anfarwol ddim ychwaneg? Oh trugarhewch wrthych eich hunain! Eithr hwynt hwy ni thrugarhân unwaith ronyn wrthynt eu hunain, ac ni wnânt ychwaith gyfrif o honom. Nyni a ddywedwn wrthynt, mai chwerw fydd y diwedd. Pwy a ddichon drigo gydâ 'r tân tragywyddol? Ac etto ni thrugarhânt hwy ddim wrthynt eu hunain: Ac er hynny y budreddiaid digwylidd hyn a ddywedant fôd Duw yn drugaroccach, nag y damnia efe hwynt pan ydynt hwy eu hunain yn echryslon, ac yn anhrugarog yn rhedeg i ddamnedigaeth. A phettem ni yn myned attynt â'n hettiau yn ein dwylo, ac yn ymymbil â hwynt, nid allwn ni moi hattal. Pe syrthiem iddynt ar ein gliniau, nid allwn ni moi hattal; Ond i Uffern yr ânt, ac etto ni choeliant eu bod yn myned yno: Pettem ni yn cresu arnynt er mwyn y Duw ai gwnaeth, ac sy'n eu cadw, er mwyn y Crist a fu farw trostynt; er

mwyn

mwyn eu heneidiau truain eu hunain, dostu-
rio o honynt wrthynt eu hunain, ac nad
elont ddim pellach ar hyd y ffordd i Uffern,
ond dyfod at Grist tra yw ei freichiau ar
lêd, a myned i mewn i ystât bywyd, tra yw
'r drws yn lled-agored, a derbyn trugaredd
ynawr tra bô trugaredd iw chael, ni fyn-
nant moi perswadio. A'n bod ni yn trengu o'r
plegyd, ni fedrwn ni gael ganthynt yr awr
hon ac yn lleigus ystyried y peth rhyngthynt
ag eu hunain, a Dychwelyd. Ac er hynny hwy
a fedrant ddywedyd, *Gobeithio y bydd Duw
yn drugarog*. A ddarfu i chwi erioed ystyried
beth a ddywaid ef, *Esay*. 27. 11. [*Nid pobl
ddeallgar ydynt, am hynny 'r hwn ai gwna-
eth, ni thosturia wrthynt, a'r hwn a'i lluniodd
ni thrugarhâ wrthynt.*] Oni ddillada ûn a-
rall chwi, Pan fyddoch noeth, a'ch porthi
pan fôch newynog, chwi a ddywedwch ei
fôd yn anhrugarog. Pe taflei efe chwi yng-
harchar, neu'ch pwyo a'ch arteithio, chwi a
ddywedech, ei fôd yn anrhugarog. Ac er
hynny chwychwi a wnewch ychwaneg fîl o wei-
thiau yn eich erbyn eich hunain, sef bwrw eich
enaid a'ch corph ymaith yn dragywydd, heb
unwaith gwyno rhag eich anrhugarogrwydd
eich hunain. Ie ac mae yn rhaid bwrw
os ydych chwi yn barnu yn gymmwys, yr
hyn beth Duw a'i gŵyr nid ydych, fôd Duw
yn anrhugarog, (yr hwn a fu ai drugaredd
yn disgwyl wrthych trwy gydol hyn o am-
ser) Os cospa efe chwi gwedi hyn ei gyd.

Oddieithr i ſanctaidd Dduw 'r nefoedd roddi cennad i'r cyfeillion hyn i ſathru gwaed ei fâb tan eu traed, a chyda 'r Iddewon, megis eilwaith i ddisboeri yn ei wyneb, a difenwi yſpryd y grâs, a gwneuthur cellwair o'r pechod a gwawd o Sanctcidddrwydd, ac i wneuthur llai cyfrif o drugaredd iachuſawl, nag o frynti eu pleſerau cnawdol; A chwedi hyn oll, oddieithr iddo ef eu cadw hwy trwy 'r drugaredd y maent yn ei thaflu ymaith, ac ni fynnant mhoni, rhaid iddynt alw Duw yn anrhugarog. Eithr efe a fyn fód yn gyfiawn pan farno, ac ni fydd iddo ſefyll neu ſyrthio wrth frawdle prŷf pechadurus.

Myfi a wn fôd llawer o draws ddadleuon neuilltnol, y maent hwy yn eu dwyn yn erbyn yr Arglwydd; eithr nid â fi i ymaros yn hyn o fan iw hatteb bôb un ar ei benn, gan i mi wneuthur hynny euſus yn fy *Nhrathawd am farn*, lle mae iddynt ymorol amdano. Pe buaſei Ymholwyr y byd mor oſalus, i ochelyd pechod a deſtryw, ac a buant hwy yn llawn ffwdan i chwilio am yr achos o honynt, a pharod ar wyr-gyrch iw fwrw ar Dduw; hwy a allaſent dreulio eu ſynhwyrau yn fuddiolach, a gwneuthu r llai cam â Duw, a dyfod eu hunain ir lann yn well. Pan yw'r fâth Anghenfil anhardd ac yw pechod o'n mewn ni, a pheth mor orthrwm a choſpedigaeth arnom ni, a pheth mor ofnadwy ac

yw Vffern o'n blaen-ni, fe dybygid y byddei yn hawdd dirnad, pwy sy ar y bai, a pha un ai Duw ai dŷn yw 'r pris-achos o'r bai. Mae rhai dynion yn farnwyr mor drugarogion iddynt eu hunain, ai bôd yn fwy hy-rwydd i achwyn ar yr Annherfynol *Berffeithrwydd* a'r daioni ei hunan, nag ar eu calonnau eu hunain; ac a ddynwaredant eu hynafiaid gynt, y rhai a ddywedasant, *Y Sarph a'm twyllodd, y wraig a roddaist gydâ mi, hi a roddodd imi, a mi a fwytteais,* Gan arwyddocau yn ddirgel, mai Duw oedd yr achos: felly y dywedant hwythau,[*Y deall a roddaist i mi, nid allei mor dirnad, yr ewyllys a roddaist i mi, nid allei wneuthur gwell dewis; y gwrth-ddrychau a osodaist gar fy mron am hudasant, y profedigaethau a adewaist i ymosod arnaf, a orescynnasant i'm herbyn.* Ac y mae mor orflin gan rai feddwl, y dichon Duw wneuthur Creadur ai hyfforddo ei hunan, na lefasant hwy naccau iddo ef, yr hyn a gymerant ei fod yn un oi Ragorfreintiau; sef bod yn hyfforddydd yr ewyllys ym mhôb pechod, megis yr achos naturiol, digyfrwng, ar sy yn ei eri. A bagad a fyddent fodlon i wneuthur Duw yn rhydd oddiwrth fod yn gymmaint achos oddrwg, pe medrent, cymmaint a dwyn hynny i gytuno âi fod ef yn ben-achos daioni; fel pettau 'r Gwirionedd heb fôd ddim hwy i fôd yn wirionedd, nag y gallwn ni ei ganfod yn ei berffaith drefn ai gyfansoddiad. O herwydd na fedr ein synhwyrau sittrach ni

moi cydgysylltu hwynt, na phennu i bob gwirionedd ei gyfle priodol, rhysygu yr ydym benderfynu, mai rhaid yw bwrw rhai ymaith. Dyma ffrwyth ein huchel-falch dybied yn dda o honom ein hunain, pan ydyw dynion heb dderbyn gwirionedd Duw megis plentyn ei wers, mewn sanctaidd ymostyngiad i lwyr lawn-wybodaeth ein Dysgawdwr, ond megis Ynaid (neu farnwyr) y rhai ydynt ry-ddoethion iw dysgu.

Gwrthddadl. *Eithr ni allwn ni m'on troi ein hunain, oddieithr i Dduw ein troi: Ni allwn ni wneuthur dim heb ei rás ef: nid yn yr hwn sy yn ewyllysio y mae, nac yn yr hwn sy'yn rhedeg chwaith, ond o Dduw yr hwn sydd yn trugarhau.*

*Atteb.* 1. Mae gan Dduw ddwy râdd o drugaredd iw dangos: Trugaredd Troedigaeth yn gyntaf, a thrugaredd iechydwriaeth yn olaf: Yr olaf ni ddyru ef i neb, ond ir sawl a ewyllysiant ac a redant, ac fo'i haddawodd iddynt hwy yn unig. Y gyntaf sydd iw gwneuthur hwynt yn ewyllysgar ac a oeddynt annewyllysgar: Ac er nad yw eich ewyllysio a'ch ymegnio eich hunain yn haeddu y Grâs hwn, er hynny mae eich gwirfodd ymwrthodiad yn haeddu eich naccaáu chwi o hono. Eich gwann allu yw eich gwir anewyllysgarwch ei hun, yr hwn nid yw yn esgusodi eich pechod, ond ei wneuthur yn fwy. Chwychwi a ellych droi pettych ond gwir ewyllysgar: Ac os ydyw eich ewyllysiau wedi

di llygru felly ynddynt eu hunain, na chynhyrfa dim hwynt ond grâs grymusol, mae i chwi fwy o achos i ymgais am y grás hwnnw, ac i ymroi iddo, ac i wneuthur a alloch trwy ymarfer a'r moddion iw gael ef, heb ei esceuluso, nac ymosod iw erbyn. Gwnewch yn gyntaf yr hyn a alloch, ac yna achwynwch ar Dduw am eich nacaau o râs os bydd iw'ch achos.

Gwrthddadl. *Eithr fe dybygid, eich bod hyd yn hyn yn bwrw fod gan ddynion Ewyllys Rhydd.*

*Atteb.* Mae 'r ddadl ynghylch Ewyllys rhydd tu hwnt i'ch dealltwriaeth chwi; Am hynny nid âfi i'ch blino yn ei gylch â dim ym mhellach onid hyn. Mae eich ewyllys yn rhydd yn anianawl, hynny yw, y mae hi yn gyneddfen o'i hunan-hyfforddiad; ond y mae wedi gŵyro yn ddihir, ac yn wrthwynebol ir da; ac am hynny ni a welwn wrth brawf gresynol nad oes gantho rydd-did moesol rhinweddol; eithr hynny yw ei ddrygioni, yr hwn sydd yn haeddu cospedigaeth. Ac yr wyf yn attolwg i chwi nedwch i ni ein ffylu ein hunain ag opiniwnau. Bwriwch fod y matter yn eiddoch chwi eich hunain. Od oes gennych elyn mor ystrywgar, ac y rhuthro ef arnoch ach curo bob gwaith ac ich cyfarfyddo, ac a ddycco hoedl eich plant, a escusodwch chwi ef oblegyd iddo ddywedyd, [ *Nid oes gennyfi ewyllys rhydd, fy naturiaeth*

yw, *Ni allai ddewis oddieithr i Dduw roddi i mi ras.*] Os oes gennych wâs yn eich yspeilio, a gymmerwch chwi y fath atteb gantho? Oni allai bob rhyw Leidr a llofrudd, a'r a grogir yn y Sessiwm roddi y cyfryw atteb, [*Nid oes gennyfi ddim ewyllys-rhydd; ni allafi mor newid fy nghalon fy hun: Beth a allafi wneuthur heb râs Duw?* ] Ac a ddieuogir hwynt o herwydd hynny? Oni wneir, pa ham gan hynnny y tybiwch gael eich dieuogi oddiwrth ystod neu gŵrs o bechod yn erbyn yr Arglwydd?

---

2. ODdi ymma chwi a ellwch ddal-sulw ar y tri pheth hyn ynghyd. 1. Pa demtiwr cyfrwys yw Satan. 2. Pa beth twyllodrus yw pechod. 3, Pa greadur ei ffoled yw dyn llygredic. Temtiwr cyfrwys yn ddiau, yw'r hwn a fedr berswadio y rhan fwyaf or byd i fyned yn froch-wyllt i dân tragywyddol, y pryd y maent yn cael cynnifer o rybuddion ac o gynghorion ir gwrthwyneb ac y maent yn eu cael. 2. Diau mai peth twyllodrus yw pechod, yr hwn a fedr hudo cynnifer o filoedd i ymadel a'r bywyd tragywyddol, am beth mor wael ac mor llwyr anwiw! 3. Creadur ffôl yw dyn yn ddiammau, yr hwn a edu ei siommi am ei iechydwriaeth am ddiddim; ie am ddiddim hynod;

nod; a hynny gan elyn, a gelyn hynod. Chwi a dybygech y byddei ammhosibl, i neb rhyw ddyn a sai yn ei bwyll, gymmeryd ei berswadio am goeg beth, iw fwrw ei hunan ir tân, neu 'r dwfr, neu i bwll-glô, o ran diniſtr ar ei einioes. Ac er hynny dynion a gymmerant eu hudo iw taflu eu hunain i Vffern. Pettau eich bywyd naturiol yn eich dwylo eich hunain, fel na byddech chwi feirw nes eich llâdd eich hunain, gyhyd y byddei ir rhan fwyaf o honoch fyw? Ac etto pan yw eich bywyd tragywyddol cym-mhelled ar eich dwylo eich hunain tan Dduw, nad ellwch fôd yn golledic nes i chwi eich difetha eich hunain, leied nifer o honoch a ymgeidw rhag eich diniſtrio eich hunain? Oh pa beth gwirion-ffol yw dyn! a pha beth hudolaidd ac yn hurtio rhai yw pechod?

---

3. ODdi ymma hefyd y gellwch ddyſcu, nad oes chwithod mawr, bod yr annuwiol yn rhwyſtro eraill yn y ffordd ir nefoedd, ac yn chwennych fod cymmaint ac a allont heb ddychwelyd, ac yn chwennych eu tynnu hwynt ir pechod, ai cadw ynddo. A ellwch chwi ddiſgwil i ddyn drugarhau wrth eraill, ni thrugarhao ddim wrtho ei hun?

hun ? Ac y rhuſent hwy er diniſtr, eraill y ſawl ni ruſant i ddiniſtrio eu hunain ? Ni wnânt waeth i eraill, nac a wnânt iddynt eu hunain.

---

4. YN ddiweddaf, chwi a ellwch ddyſcu oddiymma mai'r gelyn mwyaf i ddyn ydyw efe ei hun ; ac mai y farnedigaeth fwyaf, ar a ddichon ddigwydd iddo ef yn y bŷd hwn, yw ei adael ef iddo ei hun, ac mai 'r gwaith mwyaf ſydd gan Râs iw wneuthur yw ein gwaredu ni rhagom ein hunain, ac mai yn eu herbyn eu hunain, y dylai fod y cwynion a'r Achwynion mwyaf gan ddynion, ac mai 'r gwaith mwyaf ſydd gennym ni ein hunain iw wneuthur, yw ein gwrthwynebu ein hunain : ac mai 'r gelyn mwyaf y ddylaem ni weddio, a gwilio, ac ymdrechu beunydd yn ei erbyn, yw ein calonnau a'n hewyllys cnawdol ein hunain ; A'r rhan fwyaf o'ch gwaith, os mynnech chwi wneuthur daioni i eraill, iw cymmorth ir nefoedd, yw eu gwaredu hwynt rhagddynt eu hunain, ſef rhag eu dâll ddealltwriaethau, a rhag ei hewyllys llygredic, ai hanwydau trofaus, ai gwyniau taer-ddrûd, ai ſynhwyrau afreolus eu hunain.

Myſ

Myfi ydwyf yn unig yn enwi y rhai hyn oll o ran byrr ddibendod, ac yn eu gadael i chwithau iw hyſtyried ym mhellach.

---

WEle Syrs, bellach nyni a ddaethom o hyd i ddirfawr fradwr a llofrudd yr eneidiau (ſef dynion eu hunain, eu hewyllys eu hunain) beth ſydd yn ôl i chwi iw wneuthur ond rhoddi barn yn ôl y Dyſtiolaeth, a chyfaddeu yr anwiredd mawr hwn o flaen yr Arglwydd, ac ymddaroſtwng oi blegyd, ac na wneler mhono ef mwyach. At y tri diben hyn yn wahanrhedol, myfi a chwanegaf ychydic eiriau. 1. Ich argyoeddi chwi ym mhellach. 2. Ich daroſtwng. 3. Ich adgyweirio os oes etto ddim gobaith.

1. Mae gennym ni cymmaint cydnabyddiaeth a hynny ar *Dra graſuſlawn Anian Duw*, yr hwn ſydd yn ewyllyſgar i wneuthur daioni, ac yn hoff gantho drugarhau; nad oes i ni achos iw ddrwg-dybio ef, o fod yn achos affeithiol o'ch marwolaeth, nac iw alw ef yn greulon: Efe a wnaeth pob peth yn dda, ac efe ſy'n cadw ac yn cynnal pob beth oll. *Llygaid pôb peth a ddiſgwiliant wrtho, ac y*

*mae yn rhoddi eu bwyd iddynt yn ei bryd; gan agoryd ei law a diwallu pob peth byw a'i ewyllys da* Psal. 145. 15, 16, 17, 9. *Efe sydd nid yn unig yn gyfiawn yn ei holl ffyrdd* ( ac am hynny a wnaiff gyfiawnder) *a sanctaidd yn ei holl weithredoedd* (ac am hynny nid yn Awdur pechod) *ond yn ddaionus i bawb; ai drugaredd sydd ar ei holl weithredoedd.*

Eithr am ddyn nyni a wyddom fod ei feddwl ef yn dywyll, ei ewyllys yn ŵyrdraws, ai anwydau yn ei arwain bendramwnwgl, hyd onid yw wedi ei gymhwyso trwy ei ffoledd ai lygredigaeth ir cyfryw waith ai ddinistrio eu hunain. Pe canfyddech chwi oen wedi ei lâdd ar y ffordd, ai'r ddafad a ddrwgdybiech chwi gyntaf, yntau 'r Ci neu 'r Blaidd, o fod yn yr affaith o'r peth o byddei y ddau yn sefyll yn ei ymyl? Neu os gwelwch dŷ wedi ei dorri, a'r bobl wedi eu llâdd, ai cynt yr amheuech chwi y Tywysog neu 'r Barnwr yr hwn sydd gall a *chyfiawn, ac heb fod mewn diffyg, ná Lleidr a Lleiddiad hynod?* Gan hynny mi a ddywedaf gydag, *Jaco.* 1. 13, 14, 15. *Na ddyweded neb pan demptier ef, gan Dduw i'm temptier: Canys Duw nis gellir ei demtio â drygau, ac nid yw efe yn temptio neb* (iw dynnu ef i bechu.) *Canys yna y temptir pob un, pan y tynner ef, ac y llithier gan ei chwant ei hun: yna chwant wedi ymddwyn, a escor ar bechod: pechod hefyd pan orphenner, a*

*escor*

*eſcor ar farwolaeth.*] Yma chwi a welwch mai eriſeddyn eich trachwant eich hun yw pechod, ac nad yw ef iw ſwrw ar Dduw, ac mai marwolaeth yw heppiliaeth eich pechod eich hun, a'r ffrwyth a ddwg ef i chwi cyn gynted ac yr addfedo. Mae tryſor o ddrwg gennych ynoch eich hunain, fel y mae gan y prŷf coppyn o wenwyn : O'r hwn yr ydych yn dwyn allan adwyth i chwi eich hunain, ac yn nyddu y cyfryw weoedd ar ſydd yn dyryſu eich eneidiau eich hunain: Eich naturiaeth a ddergys mai chwychwi yw 'r achos.

2. Mae yn hyſpys mai chwychwi yw eich diniſtriwyr eich hunain, o herwydd eich bôd mor barod i groeſawu pôb temptaſiwn gan y mwyaf, ar a gynnygier i chwi. Prin y mae Satan yn barottach i'ch cynhyrſu ir drwg, nag a ydych chwi yn addfed i wrando a gwneuthur fel y mynnai ef i chwi. Pe ceiſiai efe demptio eich deall i anwybuſed a rhag-farn, chwi a ymrowch. Pe ceiſiai ef eich rhwyſtro oddiwrth ſwriadau daionus, fe ai gwneir yn ddiſwtta. Pe ceiſiai efe oeri dim dymuniadau a ſerchiadau daionus, fe ai gwneir yn ddiſwtta. Pe ceiſiai efe ennyn och mewn ddyre, neu wyniau, a chwantau gwarthus, fe ai gwneir yn ddiſwtta. Os eich goſod a wnaiff ar feddyliau, neu eiriau neu weithredoedd drwg, yr ydych chwi mor wiſgi, nad rhaid iddo wrth na gwialen nac yſpardun: Pe ceiſiai ef eich cadw rhag meddyliau,

ddyliau, a geiriau, a ffyrdd ſanctaidd, ychydic ai gwnâ; nid yw raid i chwi wrth unenſa. Nid ydych yn holi ei annogaethau, nac yn eu gwrthwynebu och llwyrfryd, nac yn eu taflu allan fel y mae ef yn eu taflu hwynt i mewn, nac yn diffoddi y gwreichion y mae efe yn gwneuthur ei oreu ar eu cynneu: Ond chwy-chwi a darewch i ſewn gydag ef, ac ai cyfarfyddwch hanner y ffordd, ac a gofleidiwch ei gynhyrfiadau, ac ai temptiwch i'ch temptio. A hawdd yw dal y cyfryw byſcodyn gwangcus, a fo yn ymreibio am yr abwyd, ac a gippio y bâch yn noeth.

3. Eich deſtryw ſydd yn eglur o honoch eich hunain, yn gymaint a'ch bôd yn gwrthwynebu pawb ar a ſynnent eich cynnorthwyo i fôd yn gadwedic, ac a ſynnent wneuthur i chwi ddaioni, neu eich rhwyſtro rhag eich difethaf eich hunain. Duw a ſynnai eich cymmorth a'ch cadw trwy ei air; a chwithau ai gwrthwynebwch, Mae yn rhy-gaeth gennych. Efe a chwennychei eich ſanctei-ddio trwy ei Yſpryd; chwithau ai gwrthwynebwch ac ai diffoddwch. Os argyoedda neb chwi am eich pechod, chwi a ruthrwch yn ei wyneb â'ch geiriau dyrras; a phe chwennychei eich tynnu at fuchedd ſanctaidd, a mynegi i chwi eich perygl preſennol, bychan yw'r diolch a roddwch iddo, Ond naill a'i chwi a berwch iddo ofalu troſto ei hunan, na chaiff ef atteb troſoch chwi; neu o'r hyn goreu, chwi ai trowch ef heibio trwy ddiolch-

ddiolch-digalon, ac ni ddychwelwch pan ich perswadier. Pe ceisiai weinidogion eich addyscu a'ch cynnorthwyo o'r neulltu, ni ddowch chwi yn eu cyfyl: Nid yw eich eneidiau diddarostyngedic yn clywed ond ychydic oddiwrth eisiau eu cynnorthwyad. Pe chwennychent eich Catecheisio, yr ydych chwi yn rhy hên ich Catecheisio, er nad ydych ry hên i fôd yn anwybodus ac yn ansanctaidd. Beth bynnac a fedront hwy ei ddywedyd wrthych er daioni i chwi, yr ydych yn tybied cystal o honoch eich hunain, ac yr ych mor ddoethion yn eich golwg eich hunain, (a hynny yn nygnedd eich anwybodaeth) na wnewch chwi ddim cyfrif o'r hyn nid ydyw 'n cytuno a'ch dychymmygion presennol; ond a drawsddadlewch yn erbyn eich Athrawon, fel pettych chwi yn ddoethach nâ hwynt-hwy; Gwrthwynebu yr ydych bôb dim oll ar a fedront hwy ei ddywedyd wrthych, trwy eich anwybodaeth, a'ch gwylltineb, a'ch ynfyd-goeg geccryson a'ch diengsâu ysgyflgai, a'ch llysiant anniolchgar, fel na ddichon dim daioni ac a gynnygier gaffael ei derbyn ai groesawu gennych yn garedigol.

4. Ym mhellach, mae yn amlwg mai chwychwi yw eich dinistriwyr eich hunain, o ran eich *bôd yn tynnu defnydd eich pechod a'ch dinistr oddiwrth y Bendigedic Dduw ei hun.* Nid yw lluniaethiad ei Ddoethineb ef wrth eich bôdd; nid oes moi gyfiawnder

wrth

wrth eich bôdd, eithr chwy-chwi ai cymmerwch am greulonder. Nid oes moi Sancteiddrwydd ef wrth eich bôdd, eithr yr ydych yn barod i dybied ei fôd ef yn gwbl fel chwithau, *Psal.* 50.21. ac yn gwneuthur cyn lleied cyfrif o bechod ac a wnewch chwithau: Nid ydyw ei wirionedd ef yn rhyngu eich bôdd, eithr chwi a fynnech fod ei fygythion ef, sef ei fygythion durfing, yn prifio yn anwir. Ai ddaioni, yr hwn a gymmerwch arnoch ei ganmol yn gymmaint, yr ydych mewn rhan yn ei wrthwynebu, fel y mae yn eich arwain i edifeirwch, ac ai camarferwch mewn rhan i gyfnerthu eich pechod ; megis pe gellych chwi yn rhyddach bechu, oblegyd fôd Duw yn drugarog, ac o herwydd bod ei rás ef yn ymhelaethu cymmaint.

5. *Je cyrchu eich destryw yr ydych oddiwrth y Prynwr bendigedic, a marwolaeth oddiwrth Arglwydd y bywyd ei hun*; Ac nid oes dim yn eich hyf hau chwi yn fwy mewn pechod, na darfod i Ghrist farw drosoch; fel pettau 'r perygl yn awr wedi myned heibio, ac y gellych chwithau yn hyfach anturio : Megis pettau Ghrist wedi myned yn wâs i Satan, ac i'ch pechodau, a bôd yn rhaid iddo ef ymddisgwil wrthych, tra fo'ch yn ei amherchi : Ac oblegyd ei fyned ef yn Physygwr eneidiau, ac y dichon efe gadw hyd yr eithaf bawb a ddelont at Dduw trwyddo ef, chwi a dybiwch mai rhaid iddo ddioddef i chwi wrthod ei gymmorth, a bwrw ymmaith ei

Gyfareddion, a bôd yn rhaid iddo eich cadw pa un bynnac a wneloch ai dyfod at Dduw trwyddo ef ai peidio: Ac fel hyn y mae rhan fawr o'ch pechodau trwy eich hyfddewr ryfyg yn cymmeryd eu hachlyfur oddiwrth farwolaeth Chrift; Heb yftyried ei ddyfod ef i brynu ei bobl oddiwrth eu pechodau, ac iw fanćteiddio yn bobl briodol iddo ei hun, ac iw gwneuthur yn un ffurf mewn Sanćteidd-rwydd â delw ei tâd nefol ai pen, *Mat.* 1. 21. *Tit.* 2. 14. 1 *Pet.* 1. 15, 16. *Col.* 3. 10, 11. *Phil.* 3. 9. 10.

6. *Cyrchu hefyd yr ydych eich deftryw eich hunain oddiwrth holl ragluniaethau a gweithredoedd Duw.* Pan feddylioch am ei dragywyddawl rag-wybodaeth ai rag-ordinhadau, hynny a'ch cleda yn eich pechod, ac a leinw eich meddyliau â bwriadau cynnhennus, megis pe gallafei ei rag-ordinhadau ef ragflaenu i chwi boen yn edifarhau ac yn byw yn fanćtaidd, neu fod yn achos o'ch pechod a'ch marwolaeth. Os cyftuddia efe chwi, ffrommi a wnewch: Os eich llwyddo a wnâ, chwi a'i anghofiwch yn fwy, ac a ydych yn ddiweddarach i feddwl am y bywyd a ddaw. Os yr annuwiol a lwydda, chwi a anghofiwch y diwedd yr hwn a efyd yr holl gyfrifion yn union, a pharod ydych i feddwl, fod cyftal bôd yn annuwiol ac yn dduwiol. Ac fal hyn y tynnwch eich marwolaeth oddiwrth bôb peth.

7. A'r cyffelyb a wnewch *oddiwrth holl gre-*

*greaduriaid a thrugareddau Duw tu ac* attoch. Efe a'u dyru hwynt i chwi yn arwyddion oi gariad, a chyphyriau iw wasanaeth, a chwithau ai trowch yn ei erbyn ef, i ryngu bôdd ich cnawd. Bwytta ac yfed yr ydych i fodloni eich chwant, ac nid er gogoniant i Dduw, ac ich gwneuthur yn abl i wneuthur ei waith ef, Chwi a gam-arferwch eich dillad i falchder. Eich golud a dynn eich calonnau oddiwrth y nefoedd, *Phil.* 3. 19. Eich parch a'ch clôd a'ch chwyddant: Os bydd gennych nerth ac iechyd, gwnaiff hynny chwi yn fwy diofal,ac i anghofio eich diwedd. Ie trugareddau rhai eraill a gam-arferwch i'ch niweid. Os canfyddwch eu parch ai hurddiant, chwi a annogir i genfigennu wrthynt. Os edrychwch ar eu golud, yr ych yn barod iw chwennychu. Os creffwch chwi ar lendid chwi a gynhyrfir i drachwant. A da ydyw 'r peth, os diangc *Duwioldeb* rhag bôd yn gryn frycheuyn yn eich golwg.

8. *Y Doniau y mae Duw yn eu cyfrannu i chwi*, a'r Ordinhadau grâs y rhai a drefnodd ef iw Eglwys, a drowch chwi yn bechod. Os bydd gennych well doniau nag eraill, balchio a wnewch, a thybied yn dda o honoch eich hun: Os bydd gennych ond doniau cyffredinol, chwi ai cymmerwch yn lle grâs enwedigol. Chwi a gymmerwch y ddyledswydd o noeth wrandawiad y gair i fod yn gystal gwaith a phettau yn eich efeufodi am

anufyddhau

anufyddhau iddo. Eich gweddiau a drowyd yn bechod, *am i chwi edrych ar anwiredd yn eich calonnau.* Psa. 66. 18. *Ac nad ymadewch ag anghyfiawnder pan alwoch ar enw yr Arglwydd,* 2 Tim. 2. 19. *Ffiaidd yw eich gweddiau, am Droi o honoch ymaith eich clust rhag gwrando y gyfraith.* Dih. 28. 9. *A pharottach ydych i roi aberth ffyliaid,* (gan dybied eich bod yn gwneuthur rhyw wasanaeth enwedigol i Dduw) nag i wrando ei air, ac ufyddhau iddo. *Preg.* 5. 1. Nid ydych yn eich holi eich hunain, cyn derbyn o honoch swpper yr Arglwydd, eithr heb iawn farnu corph yr Arglwydd, ydych yn bwytta ac yn yfed barnedigaeth i chwi eich hunain. 1 *Cor.* 11. 28, 29.

9. Ie y dynion *yr ymgyfeillechwch â hwynt, a'i gweithredoedd hefyd,* a wnewch chwi yn achlysur 'ich pechod a'ch destryw. Os byw y maent yn ofn Duw, chwi a'i casewch: Os byw a wnânt yn annuwiol, chwi a'i dilynwch: Os aml yw'r annuwiol, chwi a dybiwch y gellwch eu canlyn yn hyfach: Os anaml yw 'r duwiol, chwi a ymhyfhewch yn fwy iw dirmygu hwynt. Os rhodiant yn ddichlin, chwi a dybiwch eu bôd yn rhybrestl. Os syrth ûn o honynt i brofedigaeth neilltuol, chwi dramgwyddwch wrthynt, ac a drowch ymaith oddiwrth Sancteiddrwydd, o ran bod eraill yn sanctaidd ammherffaith: Megis pettych chwi yn arddeledic i dorri eich gyddfau, o ran darfod i rai eraill trwy

fod yn ysmala dyrfu gewyn, neu yrru afgwrn oi le. Os rhagrithiwr ai datcuddia ei hun, chwi a ddywedwch, *felly y maent hwy ei gyd*, ac a dybiwch eich bod eich hunain cyn onested a'r gonesta. Prin y gall Proffeffwr lithro i ryw fai, ond o herwydd ei fôd ef yn torri ei fŷs, chwi a dybiwch y gellwch yn hyf dorri eich gwythi gwaed (neu 'ch gwddgau) Os chweru y gweinidogion yn ddihocced a chwi, dywedyd a wnewch eu bôd yn cablu: Os mwynaidd a llêd-oeraidd y llefarant, naill ai ar ydych yn cyfcu tanynt, neu nid oes ynoch fawr fwy teimlad, na'r meingciau yr ydych yn eistedd arnynt. Os amryfuseddau a ymlufcant i mewn ir Eglwys, rhai ai derbyniant yn awchus, eraill a gablant yr Athrawiaeth Cristianogawl oi plegyd hwynt, yr hon fydd bennaf yn eu herbyn. A phe ceisiem ni eich tynnu oddiwrth ryw hên amryfusedd ar fydd wedi gwreiddio, a fedro haeru bôd ddeu-cant neu dri, neu chwech, neu feithcant o flynyddoedd mewn trwydded, chwi a frochwch os dymunir cael diwygiad, cymmaint a phettych yn colli eich einioes trwy hynny, ac a ddeliwch yn dynn hên amryfusedd, tra yr ydych yn croch-lefain yn erbyn rhai newyddian. Prin y geill ymryfon dyfu ym-mlhith gweinidogion yr Efengyl, na chyrchoch chwi eich marwolaeth oddiwrth hynny. Ac ni wrandewch chwi, neu o'r hyn lleiaf ni ufyddhewch i athrawiaeth ddiddadl neb o'r fawl nid ydynt yn dyfod yn gyhydedd ich

dych

dychymmygion chwi: y naill ni wrendi ar Weinidog am ei fôd yn darllain ei bregethau, a'r llall ni wrendi am nad yw yn eu darllain. Y naill ni wrendi arno, oblegyd ei fod yn adrodd gweddi 'r Arglwydd, a'r llall ni wrendi arno, am nad yw yn ei harfer. Un ni wrendi arnynt am eu bôd ar du yr Escobion, ac un arall ni wrendi arnynt am eu bôd yn eu herbyn. Ac fel hyn y gallwn ddangos i chwi mewn bagad o berthynasau, pa fôdd yr ydych yn troi pob peth a ddelo yn agos attoch i'ch destryw eich hunain: mor eglur ydyw, fod yr Annuwiol yn destrywio eu hunain, a bod eu colledigaeth o honynt eu hunain.

---

MYfi a dybygwm weithian o ystyr yr hyn a ddywedpwyd, a bwrw golwg ar eich ffyrdd, y dylaech chwi feddwl beth a wnaethoch, a gwladeiddio, ac isel ymostwng wrth ei gofio. Yr hyn oni byddwch yn ei wneuthur, ystyriwch y gwirioneddau hyn sy yn canlyn.

1. *Bod yn eich dinistrio eich hunain sydd bechod yn erbyn y gynned fen fwyaf greddfol yn eich natur, sef y gyned dfen o Hunan-amddiffynniad.* Mae pob peth wrth naturiaeth yn chwennych, ac yn tueddu at ei happusrwydd, ei hawddfyd neu ei berffeithrwydd ei hun, Ac a fydd i chwi eich gosod eich hunain i'ch

dinistr

diniſtr eich hunain? Pan orchymynner i chwi garu eich cymmydogion fel chwi eich hunain, fe fwrir fôd yn naturiol i chwi eich caru eich hunain. Eithr oni cherwch chwi eich cymmydogion ddim gwell ná chwi eich hunain, mae'n debygol y mynnech fôd yr holl fyd yn ddamnedic.

2. *Mor groes gynhwynol ydych i'ch bwriadau eich hunain.* Mi a wn nad ydych yn bwriadu eich damnedigaeth eich hunain, ie y pryd yr ydych yn ei phwrcaſu: Chwi a dybiwch nad ydych ond gwneuthur daioni i chwi eich hunain, trwy ryngu bôdd i ddymuniadau eich cnawd. Ond yſywaeth nid yw hyn ond megis trancelled o oerddwfr mewn cryd-poeth-iâs, neu megis coſi cruccunnodd a fo yn merwino, yr hyn a chwanega 'r dolur a'r gofid. Os mynnwch chwi mewn gwirionedd gael difyrrwch, neu fûdd, neu anrhydedd, ceiſiwch hwynt lle maent i'w cael, ac nad ewch i hela am danynt ar y ffordd i Uffern.

3. *Pa reſyndod yw, wneuthur o honoch chwi hynny yn eich erbyn eich hunain, yr hyn ni ddichon neb arall ar y ddaiar, nac yn Uffern moi wneuthur.* Pettau yr holl fyd wedi ymgyſſylltu i'ch erbyn, a'r holl Gythreuliaid yn Uffern wedi ymgyſſylltu i'ch erbyn, nid allent mo'ch diniſtrio heboch eich hunain, na gwneuthur i chwi bechu ond trwy eich bôd chwithau yn cydſynnio. A wnewch chwi yntau hynny yn eich erbyn eich hunain, yr

hyn

hyn ni ddichon neb arall ei wneuthur ? Mae gennych feddyliau câs am y Cythraul, am ei fod yn elyn i chwi ac yn gwneuthur ei oreu ar eich diniſtrio. Ac a fyddwch chwi yn waeth nâ Chythreiliaid i chwi eich hunain ? O'ch fal hyn yr ydych, pettau gennych galonnau iw ddeall ! Pan ydych yn rhedeg ir pechod, ac yn rhedeg oddiwrth dduwioldeb, ac yn gwrthod *Dychwelyd ar Alwad Duw*, yr ydych yn gwneuthur mwy yn erbyn eich eneidiau nag a ddichon dynion, neu gythreiliaid ei wneuthur heb law hynny. A phetteich yn ymoſod eich hunain, ac yn goſod eich ſynhwyraū ar ynnyl (gan eu hanelu hwynt) i wneuthur y drwg mwyaf i chwi eich hunain, nid allech chwi wneuthur ûn a fai fwy.

4. *Yr ydych chwi yn anghywir ir hyn y rhoddes Duw ymddiried ynoch am dano.* Efe a ymddiriedodd i chwi yn fawr am eich Iechydwriaeth eich hunain : A wnewch chwithau frâd yr hyn yr ymddiriedwyd i chwi am dano ? Efe a'ch goſododd gydâ phob diwydrwydd i gadw'ch calonnau: Ai dyma ynteu 'r gadwraeth a wneir arnynt ?

5. *Yr ydych hyd yn oed yn gwahardd i bawb eraill doſturio wrthych, pan na thoſturioch ddim wrthych eich hunain.* Os gwaeddwch ar Dduw yn nydd eich cyfyngder, am Drugaredd, Trugaredd ; Beth a ellwch chwi ei ddiſgwyl, ond iddo ef eich cilgwthio ymaith, a dywedyd, [Nagê ni

thru-

thrugarheit ti wrthyt dy hun: Pwy a ddug hyn arnat ond dy wrthnysigrwyddd dy hun?] Ac os gwel eich brodyr chwi mewn trueni yn dragywyddol, pa fodd y tosturiant wrthych chwi, y rhai a'ch destrywiasoch eich hunain, ac ni fynnech mo'ch perswadio?

6. *Hyn a bair i chwi byth bythoedd fod yn Uffern yn benydwyr i chwi eich hunain, wrth feddwl, ddarfod i chwi o'ch gwyllt-wirfodd eich dwyn eich hunain ir trueni hwnnw.* Oh pa ym no meddwl fydd i chwi gofio yn dragywydd rhyngoch a chwi eich hunain, *Mae eich gwaith chwi eich hunain a fu hyn!* a'ch rhybuddio o hono y dydd heddyw, a'ch rhybuddio drachefn, ond na thyciai: Ddarfod i chwi bechu yn ystyfnig; a throi ymaith oddiwrth Dduw yn ystyfnig; Gaffael o honoch amser yn gystal ac eraill, ond darfod i chwi ei gamarfer: Chwi a gawsoch Athrawon yn gystall ac eraill, eithr gwrthodasoch eu haddysc. Chwi a gowsoch siamplau sanctaidd yn gystal ac eraill, eithr nis dilynasoch hwynt. I chwi y cynnygiwyd Crist, a Grâs, a gogoniant, yn gystal ac i eraill; eithr mwy oedd eich bryd ar eich pleserau cnawdol: Yr oedd gennych werth yn eich dwylaw, ond nid oedd gennych galon iw osod ef allan, *Dih.* 17. 16. Oes fôdd na bo yn benyd i chwi feddwl am eich ffoledd presennol hwn? O na bai eich llygaid yn agored, i ganfod beth a wnaethoch yn y gwyllt-gâs gam, a wnaethoch

a'ch

a'ch eneidiau eich hunain! Ac na ddeallech yn well y geiriau hynny o'r eiddo Duw, *Dih.* 8. 33. 34, 35, 36.

*Gwrandewch addysc, a byddwch ddoethion, nac ymwrthodwch a hi. Gwyn ei fyd y dŷn a wrandawo arnaf, ac a wilio beunydd wrth fy nrysau, gan warchod wrth byst fy mhyrth i. Canys y neb a'm caffo i, a gaiff fywyd, ac a feddianna ewyllys da gan yr Arglwydd. Ond y neb a becho yn fy erbyn a wna gam a'i enaid ei hun: fy holl gaseion a garant angeu.*

---

BEllach mi a ddaethum i gloi ar hyn o waith; mae 'n ofid ar fy'nghalon feddwl pa fodd i'ch gadawaf, Rhag ir cnawd eich twyllo gwedi hyn ei gyd; ac i'r byd ar Gythraul eich dal i gysgu, ac i minneu eich gadael fel ich cefais, nes eich deffro yn Vffern. Er i mi ofni hyn, o ran fy'i gofal am eich eneidiau truain; am fy môd yn adnabod ystyfnigrwydd calon gnawdol, etto mi allaf ddywedyd gyda'r prophwyd, *Jeremi.* 17. 16. *Ni ddymunais y dydd blin, Arglwydd, ti ai gwyddost.* Ni ddymunais i gydag *Jaco* ac *Joan*, ar i dân ddyfod o'r nefoedd i ddifa y sawl a wrth dasant Jesu Crist, *Luc.* 9. 54. Eithr ar ragflaenu y tân tragywyddol y bûm i trwy gydol hyn o amser yn gwneuthur fy' ngoreu

ngoreu: Ac ôch na buasei yn waith afraid! Nas gallasei Dduw a chydwybod fôd mor ewyllysgar i adel i mi seibiant oddiwrth hyn o waith, ac y medrasei rai o honoch chwi fod. Garedigion anwyl, mae mor drwm gennyf fod i chwi orwedd mewn tân tragywyddol, a bôd wedi eich cae allan o'r nefoedd, os yw yn bossibl rhag-flaenu hynny, ac y gofyn-wyf unwaith etto, beth bellach sy'yn eich bryd? Ai Troi a wnewch, ynteu Meirw; Yr ydwyfi yn edrych arnoch megis Physygwr ar ûn clâf mewn anhwyl enbydus, ac yn dywedyd wrtho [*Er eich bôd wedi mynedymmhell, cymmerwch y gyfaredd hon, ac ymgedwch ond rhag yr ychydic bethau hyn y rhai ydynt yn niweidiol i chwi, ac mi a anturiaf wrantu eich hoedl: Eithr oni wnewch chwi hyn, nid ydych ond gŵr marw*] Beth a dybygech chwi am y cyfryw ddyn, oni ddichon y Physygwr a'r holl garedigion sydd gantho moi berswadio i gymmered ûn physygwriaeth i achub ei hoedl, neu i ymgadw rhag un neu ddau o bethau gwenwynig ai lladdent ef? Dyma eich cyflwr chwithau. Er pelled yr aethoch mewn pechod, gwnewch cymmaint a Dychwelyd a dyfod at Grist, a chymmeryd ei gyfareddion, a'ch eneidiau â gant fyw. Chwdwch i fynu eich pechodau marwol trwy edifeirwch, ac na ddychwelwch mwyach at eich chwydion gwenwynllyd, a chwi a ddewch o'r goreu. Ond etto pettau eich cyrph i ni i ymdrin a hwynt, ni a allem wybod mewn rhan beth

iw wneuthur i chwi, pe rhon i chwi na chydſynniech ddim. Fe ellid eich dal, neu eich rhwymo, tra byddid yn tywallt y phyſygwriaeth i lawr ar hyd eich gyddfau, a phethau niweidiol a ellid eu cadw oddiwrthych. Eithr ynghylch eich eneidiau ni ddichon hynny mor bod. Nis gallwn ni mo'ch Troi yn erbyn eich ewyllys. Ni ddygir ynfydion ir nefoedd mewn llyffetheiriau. Chwi a ellwch fod yn *Ddamnedic o'ch anfodd am i chwi bechu och gwirfodd.* Eithr nis gellwch fod yn gadwedic o'ch anfodd. Doethineb Duw a dybiodd yn dda oſod iechydwriaeth neu ddiniſtr dynion yn fawr iawn yn etholiad eu hewyllys eu hunain: fel na chaffo neb ddyfod ir nefoedd, ar na ddewiſod y ffordd ir nefoedd, ac na chaffo neb ddyfod i Uffern, na chymhellir ef i ddywedyd, Cefais y peth a ddewiſais, fy ewyllys fy hun am dug i yma. Weithian pe gallwn ond eich dwyn i fôd yn ewyllyſgar, i fod yn hollawl, ac yn llwyrfryd, ac yn reddfol ewyllyſgar, fe fyddei 'r gwaith wedi mwy nâ hanner ei wneuthur: Ac och fi, ai rhaid i ni golli ein Cyfeillion, ai rhaid iddynt hwythau golli eu Duw, eu dedwyddwch, eu heneidiau o ddiffyg hyn? O na atto Duw! Peth rhyfedd gennyf, fod dynion mor ddiſedr, a lledfeddod yn y matterion mwyaf, y fawl ydynt mewn pethau llai yn weddaidd iawn, a chyweithas, ac yngymmydogion da. Am ddim ar a wn i, mae i mi gariad fy holl gymmydogion, neu'r cwbl gan

y mwyaf, cyn belled, a phes anfonwyf at fm dyn o fewn y dref, neu'r plwyf, neu'r wlad, a gofyn ganthynt gymmwynas a fai gweddol, hwy ai canhiadhaent immi: Ac er hyn, pan ddelwyf attynt, a gofyn ganthynt y peth mwyaf yn y byd iddynt eu hunain, ac nid i mi, ni fedrai gael gan fagad o honynt ddim ond gwrando yn ammyneddol. Nis gwn i, a ydyw pobl yn tybied fôd gŵr yn y pulpyd yn wirddifrifol, ai peidio, ac yn meddwl megis y mae yn llefaru: Cans yn fy'nhŷb i, nid oes gennyf nemmawr o gymmydogion, am bôd yn gyfeillgar gydà hwynt, yn eisteidd, ac yn mynegi iddynt yr hyn a welais, neu a wneuthum, neu a wybum i yn y byd, na byddei iddynt fynghoelio a gwneuthur cyfrif o'r hyn a ddywedwn. Eithr pan fynegwyf iddynt allan o ansiomedic air Duw, y peth a gânt hwy eu hunain ei weled ai wybod yn y byd a ddaw; maent yn dangos wrth eu buchedddau eu bôd naill ai heb goelio'r peth, neu heb fawr fatter ganthynt am dano. Pettwn i yn cyfarfod â neb rhyw un o honynt ar y ffordd, a dywedyd wrthynt, Daccw bwll glô, neu mae yna Sugn-draeth, neu yna mae lladron yn llechu i gynllwyn am danoch; Myfi a fedrwn eu perswadio i droi heibio. Ond pan ddywedwyf wrthynt fôd Satan yn cynllwyn am danynt, a bôd pechod yn wenwyn iddynt, ac nad yw Vffern beth i gellwair ag ef; hwy a ânt rhagddynt fel ped faent heb fy'nglhywed. Yn wir fy'nghymmydogion, yr wyfi

mor

mor ddygn ddifrifol wrthych chwi yn y pulpyd, ac ydwyfi mewn un ymddiddaniad cyffredinol; ac os rhoddwch byth goel arnaf, mi attolygaf iwch wneuthur hynny yn hyn o fan. Yr wyfi yn tybied nad oes undyn o honoch oll, o bai fy enaid i fy hun yn sefyll ar eich ewyllys chwi, na byddech yn ewyllysio ei fod yn gadwedic (er nas gallaf addaw yr ymadawech chwi a'ch pechodau o ran y peth.) Mynega im, tydi feddwyn, a wyt ti mor greulon i mi yr hwn wyf yn llefaru wrthyt, nad ymattelit oddiwrth ychydic gwppaneidiau o ddiod, os gwyddit yr achubai hynny fy enaid rhag Vffern? Ai gwell oedd gennyt fy mod yn llosgi yn dragywydd, na gorfod arnat ti fyw yn sobr, fel y gwna dynion eraill? Os felly mae, oni allafi ddywedyd, mai anghenfil annrhugarog ydwyt, ac nid dŷn? Pe deuwn i yn newynog, neu yn noeth, i un o'ch drysau, onid ymadawech chwi ag ychwaneg na chwppanaid o ddiod im gweinyddu. Mae yn ddiammau gennyfi y gwnaech: Pettau'r peth yn achub fy mywyd i, myfi a wn am rai o honoch y peryglech chwi eich bywyd eich hunain. Ac etto er ymymbil a chwi nid ymadewch â'ch difyrrwch anianawl, er mwyn eich iechydwriaeth eich hunain. A ymattelit ti oddiwrth gan-cwppanaid o ddiod i achub fy hoedl i, ped fai ar dy law, ac oni wnei di hynny o ran achub dy enaid dy hun? Syrs, yr wyf yn addef wrthych, fy mod i y dydd heddyw cyn ddifrifed crefwr arnoch o

ran achub eich eneidiau eich hunain, ac a ſyddwn i am gael torri ſy angen pe gorſyddei arnaf ddyfod i gardotta i'ch dryſau. Ac am hynny os gwrandawech arnaf y pryd hynny, gwrandewch fi yn awr. Os toſturiech wrthyf y pryd hynny, dymuno arnoch doſturio yn awr wrthych eich hunain. Yr wyfi eilwaith yn attolwg arnoch, megis ar ſy'ngliniau noethion, ar i chwi wrando ar eich Prynwr, a *dychwelyd fel y galloch fyw.* Chwy-chwi oll ar a fuoch fyw mewn anwybodaeth, a diofalwch, a rhyfyg, hyd y dydd hwn: Chwy-chwi oll ar a foddwyd y'ngofalon y bŷd, ac a ydych heb feddwl dim am Dduw, nac am y gogoniant tragywyddol: Chwy-chwi oll ar a gaethiwyd ich dymuniadau cnawdol, am fwydydd, a diodydd, a chwareuon, a meluſwedd: A chwithau oll ar nas gwyddoch oddiwrth yr angenrheidrwydd o ſancteiddrwydd, ac ni buoch erioed yn gydnabyddus â gwaith yr Yſpryd glân ar eich eneidiau yn eich ſancteiddio; Y ſawl ni dderbyniaſoch erioed eich Prynwr bendigedic trwy ffydd ſywiol, gan ryfeddu yn ddiolchgar wrth deimlad o'i gariad ef, ac ſydd erioed heb gael teimlad o ddim ûwch pris ar Dduw ac ar y nefoedd, nac o gariad ddim mwy calonnog iddynt, nag ich llwyddiant cnawdol a'r pethau iſodd: Yr wyfi yn ddifrifol yn attolwg i chwi, nid yn unig er ſy mwyn i, ond er mwyn yr Arglwydd, ac er mwyn eich eneidiau, nad eloch ddiwrnod ychwaneg ymlaen yn eich cyflwr gynt, eithr edrych o honoch

yn eich cylch, a gweiddi ar Dduw am râs ich troi, fel ich gwneler yn greaduriaid newyddion, ac y galloch ddiangc rhag y plagau fydd ychydig och blaen. Ac os gwnewch chwi fyth ddim erof, canhiattewch i mi hyn o rôdd, i Ddychwelyd oddiwrth eich ffrydd ddrygionus a byw. Naccewch fi o ddim ar a ofynnwyf gennych byth i mi fi hun, os canhiedwch i mi ond hyn: Ac os naccewch fi o hyn, nid oes fatter gennyf am ddim arall a ganiattàoch immi. Nage, os gwnewch chwi ddim fyth, ar ddymuniad yr Arglwydd ach gwnaeth, ac ach prynodd, na naccewch ef o hyn: Canys os chwi ai neccà o hyn, ni waeth gantho ef am ddim ar a ganiattâoch iddo. Fel y mynnech gan hynny iddo ef fyth wrando ar eich gweddiau, a chaniattau eich dymuniadau, a gwneuthur eroch yn âwr ângau, ac yn Nydd y farn, neu yn neb rhyw un o'ch cyfyngderau, na naccewch mhono yn awr o'i ddymuniad yn nydd eich hawddfyd. Ah Syrs credwch fi, mae angeu, a barn, a nêf, ac uffern yn bethau amgenach pan ddeloch yn agos attynt, nag y maent yn ymddangos ich golygon cnawdol o hirbell. Y pryd hynny chwi a wrandawech ar y cyfryw gennadwri, ac yr wyfi yn ei dwyn i chwi â chalonnau mwy deffrous a gofalus.

WEithian, er nas gallwyf obeithio cystal o bawb, mi a obeithiaf fôd rhai o honoch, erbyn hyn yn bwriadu Troi a Byw: a'ch bôd yn barod i ofyn immi fal y gofynnodd yr Iddewon i *Petr*, *Act*. 2. 37. pan ddwysbigwyd hwy yn eu calonnau, ac y dywedasant, *Ha-wyr frodyr, beth a wnawn ni? Pa fôdd y gallem ni fod yn wir ddychweledic? yr ydym ni yn ewyllysio, pettem ni ond gwybod ein dyledswydd: na atto Duw i ni ddewis destryw, trwy wrthod troi fel y gwnathom hyd yn hyn.*]

Os y rhai hyn yw amcanion a bwriadau eich calonnau, mi a ddywedaf am danoch megis y dywedodd Duw am bobl oedd yn addaw yn dêg Deut. 5. 28, 29. [*Da y dywedasant yr hyn oll a ddywedasant: Oh na byddei gyfryw galon ynddynt i'm hofni i, ac i gadw fy holl orchymynion, bôb amser!* ] Da yw eich bwriadau: Oh na byddei galon ynoch i gyflowni y bwriadau hyn! A than obaith o hyn, myfi ach hyfforddaf yn llawen beth iw wneuthur, a hynny ar fyrr, fal y galloch yn haws ei gofio, iw ymarfer: ond ni cheidw'ch gwrandawiad ynghylch hyfforddiadau nefol mo honoch, mwy nag eich porthir wrth glywed sôn am fwyd, neu eich iacheir wrth glywed sôn am bysygwriaeth. Ac os erys y sawl

sy'n

ſy'n darllain, neu yn gwrando y cynghorion angenrheidiol a rhesymmol hyn, heb eu perswadio i wneuthur yn ôl hynny; neu os tybiant na thâl eu iechydwriaeth dragwyddol cymmaint o boen a llafur, ac yr ydys ymma yn eu cyfarwyddo hwynt i gymmeryd am dano; yna bydded hyspys iddynt, nad oes ond ennyd fechan (ie cyn y gosodir eu celanneddau yn y bêdd) hyd oni ddyscir hwynt mewn modd arall, (sef trwy brofiad) pa un oedd oreu a'i 'r pechod ac uffern, a'i yntau Sancteiddrwydd a'r Nefoedd.

---

# Yr Hyfforddiad. 1.

OS mynnwch chwi fod yn ddychweledic ac yn gadwedic, *gwnewch eich goreu a'r ddeall angenrheidrwydd a gwir naturiaeth Dychweliad*: Am ba beth, oddiwrth ba beth; at ba beth, a thrwy ba beth y mae yn rhaid i chwi ddychwelyd.

Ystyriwch ym mhâ gyflwr gresynol yr ydych hyd awr eich Troedigaeth, fel y canfyddoch nad yw efe gyflwr i orphywys yntho. Yr ydych chwi tan (*a*) euogrwydd yr holl bechodau a bechasoch erioed; a (*b*) than ddigofaint Duw, a (*c*) melltith ei gyfraith ef;

Yr ydych yn (*d*) gaeth weiſon ir Cythraul, ac yn (*e*) gwneuthur ei waith ef beunydd, yn (*f*) erbyn yr Arglwydd, ac yn eich erbyn eich hunain ac eraill: (*g*) Meirwon ydych, ac (*h*) anhardd yn yſprydol, megis yn weigion o (*i*) fywyd ſanctaidd, a natur a delw yr Arglwydd. Yr ydych yn (*k*) anghymwys i ddim gorchwyl ſanctaidd, ac (*l*) heb wneuthur dim ar ſydd yn gwir ryngu bôdd i Dduw. Yr ydych (*m*) heb un addewid na ſiccrwydd oi nodded ef, ac yn byw (*n*) mewn gwaſtadol berygl o'i gyfiawnder ef, heb wybod pa awr y cippir chwi ymaith i Vffern; ac yn ddigon ſiccr i fôd yn (*o*) ddamnedic os byddwch feirw yn y cyflwr hwnnw; Ac ni eill dim a fo yn (*p*) fyrr o droedigaeth mo'i ragflaenu. Pa weddeidd-dra, neu wellhâd, neu riniau bynnag ſy'yn fyrr o wir ddychweliad, ni pharant byth ich eneidiau fôd yn gadwedic. Bydded gwir deimlad o'r trueni aniannol hwn, ac felly o angenrheidrwydd Troedigaeth ar eich calonnau. Y mae'r ſcrythurau hyn ſy'n canlyn yn priſio hyn i gyd; craffwch yn ddyfal gan hynny arnynt hwy. (*a*) *Rhuf.* 3. 19. (*b*) *Eph.* 2. 3. (*c*) *Gal.* 3. 10. (*d*) 2. *Tim.* 2. 26. (*e*) 1. *Joan.* 3. 8. *Joan.* 8. 44. (*f*) *Dihar.* 8. 36. (*g*) *Eph.* 2. 1. *Luc* 15. 32. (*h*) *Rhuf.* 3. 10. (*i*) *Eph.* 4. 18. (*k*) *Joan.* 15. 5. (*l*) *Eſay.* 1. 14. 15. *Dihar.* 15. 8. (*m*) *Eph.* 2. 12. (*n*) *Pſal.* 73. 18. (*o*) *Datc.* 21. 8. (*p*) *Mat.* 18. 3.

Ac yno mae'n rhaid i chwi ddeall beth ydyw bôd wedi dychwelyd: Bod â chalon neu dueddfryd newydd yw'r peth, a bôd ac ymarweddiad newydd.

Cweſtiwn. *Am ba beth y mae yn rhaid i ni Ddychwelyd?*

*Atteb.* O ran y dibennion hyn ſy'n canlyn, y rhai a ellwch chwi eu cyrraed. 1 (*a*) *Chwi a wneir yn ebrwydd yn aelodau bywiol i Griſt*, ac a gewch hawl yntho, ac fe'ch adnewyddir yn ôl (*b*) delw Dduw, ac fe'ch harddir a'i holl radau ef, ac fe'ch bywoccaer â bywyd newydd a nefol, ac fe'ch cedwir rhag creulonder Satan (*c*), a llywodraeth pechod (*d*), ac fe'ch cyfiawnheuir oddiwrth felltith y gyfraith, ac fe faddeuir i chwi eich holl bechodau, fef pechodau eich holl fywyd, (*e*); a chwi gewch fôd yn gymmeradwy gydâ Duw, (*f*) ach gwneuthur yn (*g*) feibion iddo ef, ac a gewch (*h*) rydd-did trwy hyfdra iw alw ef yn dâd, ac i gyrchu atto mewn gweddi yn eich holl anghennion, ac y mae i (*i*) chwi addewid o gael eich derbyn. Chwi a gewch yr (*k*) Yſpryd Glan i breſwylio ynoch, ich ſancteiddio a'ch cyfarwyddo. Chwi a gewch ran yn y brawdoliaeth, (*l*) cymmundeb, a gweddiau'r Sainct. Chwi a gewch eich cymhwyſo i (*m*) waſanaeth Duw, a'ch rhyddhau oddiwrth Lywodraeth pechod, a bod yn waſaneuthgar ac yn (*n*) fendith yn y fangre lle bo'ch yn byw. Chwi a gewch yr (*o*) addewid o'r bywyd hwn, ac o'r hwn ſyddi ddyfodd. (*p*) Ni bydd arnoch

ddiffyg dim ar sydd yn wir dda i chwi:chwi a wneir hefyd yn abl i (*q*) oddef eich holl gystuddiau anghenrhaid. Chwi a ellwch gaffael peth prawf o (*r*) gymundeb gyd a Duw yn yr Yspryd, yn enwedic yn yr holl Ordinhadau sanctaidd, lle mae Duw yn arlwyo gwlêdd ich eneidiau; Chwi a gewch fod yn (*s*) etifeddion y nef tra fyddoch byw ar y ddaiar, ac a ellwch trwy (*t*) ffydd rag-weled y gogoniant tragywyddol, ac felly y gellwch fyw a marw mewn (*u*) tangnheddyf: ni bydwch chwaith byth cyn (*w*) ised, na byddo eich dedwyddwch yn anfreidrol mwy na'ch trueni. (*a*) *Eph.* 5. 31. (*b*) 2. *Cor.* 5. 17. *Eph.* 4. 24. *Can.* 4. 7. (*c*) *Act.* 26. 18. (*d*) *Rhuf.* 6. 14. (*e*) *Act.* 13. 38. 39. *Gal.* 3. 13. (*f*) *Eph.* 1. 6. (*g*) *Ioan.* 1. 12. (*h*) *Hebr.* 4. 16. *Gal.* 4. 6. (*i*) *Mat.* 7. 7. (*k*) *Ioan.* 14. 17. *Pen.* 16. 13. (*l*) 1. *Ioan* 1. 3. (*m*) *Luc.* 1. 74, 75. (*n*) *Gen.* 30. 27. *Gen.* 39. 3. 23. (*o*) 1. *Tim.* 4. 8. (*p*) *Psal.* 34. 10. (*q*) *Phil.* 4. 13. (*r*) 1. *Ioan.* 1 3. *Datc.* 3. 20. (*s*) *Rhuf.* 8. 17. (*t*) *Heb.* 11. 26. (*u*) *Rhuf.* 5. 1. (*w*) *Rhuf* 8. 18.

Mor werthfawr yw pob un o'r bendithion hyn, y rhai yr wyfi yn eu henwi ar fyrr, ac a ellwch chwithau eu derbyn yn y bywyd hwn!

Ac yna 2. *wrth farw, eich eneidiau a gânt fyned at Ghrist, a dydd y farn yr enaid a'r Corph a gânt eu cyfiawnhau ai gogoneddu, a my-*

*myned i mewn i lawenydd eich meistr*; *Luc.* 22. 43. *Phil.* 1. 23. *Mat.* 25. 21. 34. *Ac yn y Nêf eich dedwyddwch y fydd yn sefyll yn y pethau neullduol hyn.*

1. *Chwychwi eich hunain a berpheithir*; *Eich cyrph marwol a wneir yn anfarwol, a'r llygredig a wisg anllygredigaeth*; Ni byddwch chwi mwyach yn newynog, nac yn sychedig, nac yn lluddedig, nac yn gleifion: Nid rhaid chwaith i chwi ofni na chwilydd, na thristwch, nac angeu, nac Uffern. Eich eneidiau a berphaith ryddheir oddiwrth bechod, ac a berphaith gymhwysir i adnabod, a charu, a moliannu yr Arglwydd. 1. *Cor.* 15. *Datc.* 21. 4.

2. *Eich gorchwyl a fydd, edrych ar eich gogoneddus Bryniawdwr,* ynghyd a'ch holl sancteiddlan gyd-ddinasyddion y nefoedd, a gweled gogoniant y bendigediccaf Dduw, ai garu ef yn berphaith, a chael eich caru gantho ef, ai glodfori yn dragywydd. *Joan.* 17. 24. 1. *Joan.* 3. 2.

3. *Eich gogoniant a gyfranna i ogoniant y Gaersalem newydd,* Dinas y Duw byw, yr hyn sydd fwy na chael dedwyddwch neullduol i chwi eich hunain, *Datc.* 21. 27.

4. *Eich gogoniant a gyfranna i ogoneddu eich Prynwr,* yr hwn a fawrheir ac a ymfodlonir ynoch hyd tragywyddoldeb, y rhai ydych lafur ei enaid ef, a hyn sydd fwy na'ch gogoneddiad eich hunain. *Esay.* 53. 11.

5. *Hef-*

5. *Hefyd, tragywyddol fawrhydi y Duw byw a ogoneddir yn eich gogoniant chwi*; Yn gystal, megis ac y mawrhygir ef trwy eich gwaith yn ei foliannu ef, ac megis ac y mae ef yn cyfrannu o'i ogoniant a'i ddaioni i chwi, ac megis ac y mae ef yn ymfodloni ynoch, ac ynghyflowniad ei weithredoedd goneddus, y'ngogoniant y Gaersalem newydd, ac yng ogoniant ei fáb ef, 2. *Thes.* 1. 10.

Hyn oll a gaiff y cardottyn gwaelaf o honoch ar sydd wedi Troi, ei fwynhau yn siccr ac yn ddi-ddiwedd, *Luc.* 16. 22.

2. Chwi a welwch am ba beth y rhaid i chwi ddychwelyd: *Yn y man nesaf rhaid iw'ch ddeall, oddiwrth ba beth y mae yn rhaid i chwi ddychwelyd*; hynny hefyd sydd, (mewn un gair, oddiwrth eich *Hunan-gnawdol*, yr hwn yw diben yr holl rai Annychweledic; Oddiwrth y cnawd, yr hwn a fynnei ei foddhau o flaen Duw, ac a fynnei yn oestadol eich denu i hynny; Oddiwrth y byd yr hwn yw 'r abwyd, Ac oddiwrth y Cythraul yr hwn yw Genweiriwr yr eneidiau, a'r tywyllwr; Ac felly oddiwrth bôb pechod gwybyddus a gorphwyllog. *Mat.* 16. 24. *Rhuf.* 8. 13. 1. *Joan* 2. 15. 16. 17. *Jac.* 4. 7. *Esay.* 55. 7.

3. Yn y man nesaf, rhaid i chwi wybod; At ba beth y mae yn rhaid i chwi ddychwelyd: a hynny yw, At Dduw, megis eich diben: At Grist megis y ffordd at y Tâd: At Sancteiddrwydd megis y ffordd osodedic i chwi gan Grist: Ac felly at yr arferiad o

oll

holl gynnorthwyon a moddion Grâs, a ganniatteir i chwi gan yr Arglwydd. *Hos.* 14. 1. *Joan* 14. 6. *Heb.* 12. 14 *Mat.* 28. 20. *Act.* 3. 23.

4. Yn olaf, rhaid iw'ch wybod Trwy ba beth y mae yn rhaid i chwi ddychwelyd. *Hynny hefyd yw, trwy Grist megis yr unig Brynwr a'r Eiriolwr; A thrwy yr Yspryd Glân megis y Sancteiddiwr; A thrwy y Gair megis offeryn yr Yspryd; A thrwy ffydd ac edifeirwch megis y moddion a'r dyledswyddau o'ch rhan chwitheu iw cyflowni. Hyn oll sydd yn anghenrhaid. Joan.* 14. 6. *Act.* 4. 12. *Rhuf.* 8. 9. *Rhuf.* 1. 16. *Jac.* 1. 18. *Heb.* 11. 6. *Luc.* 13. 5.

---

# *Yr ail Hyfforddiad.*

O*S mynnwch chwi fod yn ddychweledic a chadwedic, byddwch yn faith mewn dirgel, a difrifol Ystyriaeth,* Psal. 4. 4. Anystyriaeth sy'n anafu 'r byd. Tynnwch yn fynnych a'r eich pennau eich hunain i gilfach neullduol, ac yno ystyriwch y diben y gwnaethpwyd chwi oibleg yd, a'r fuchedd a fuoch fyw, a'r amser a gollasoch, a'r pechod a wnaethoch, a chariad a diodde-faint, a chyflownder

ffowndder Christ, a'r perygl yr ych ynddo, a nesder marwolaeth a'r farn, A siccrwydd ac ardder-chowgrwydd llawenydd y nef, a siccrwydd a gerwinder Poenau Vffern, a thragywyddoldeb pôb un o'r ddau; Ac angenrheidrwydd Troedigaeth a buchedd sanctaidd. Mwydwch eich calonnau yn y cyfryw Ystyriaethau a'r rhai'n. Eithr mi a draethais ychwaneg ynghylch y matter hyn, mewn llyfr saesoneg a elwir Hyfforddiadau i gywir ddychweliad.

---

# *Y trydydd Hyfforddiad.*

OS mynnwch chwi fôd yn ddychweledic a chadwedic, byddwch yn gwrando gair Duw yn ddiwyd ac yn fynnych, yr hwn yw 'r moddion *cyffredinol* o droedigaeth pobl. Darllenwch yr yscrythur, neu gwrandewch ar ei darllain hi, neu yscrifennadau sanctaidd eraill, ar sydd yn ei chymhwyso at eneidiau pobl. Dyfal wrandewch yn oestadol ar gyhoeddus bregethiad y Gair. Megis ac y llewyrcha Duw y byd trwy yr haul, ac nid trwyddo ei hun yn unig hebddo ef; felly y dychwel efe ac y ceidw ddynion trwy ei Weinidogion, y rhai ydynt Oleuadau 'r byd,

*Act.*

*Act.* 26. 17. 18. *Mat.* 5. 14. Pan ddarostyngodd efe *Paul* yn rhyfeddol, mae yn ei anfon at *Ananias*, Act. 9. 10. A phan anfonodd ef Angel at *Cornelius*, nid yw hynny ond i erchi iddo anfon am *Petr*, yr hwn a fynegei iddo beth oedd iddo iw gredu a'i wneuthur, *Act.* 10. 5. 6. Cyfarwyddiadau Gwenidogion duwiol a ffyddlon, yw 'r moddion a ordeiniodd Crist tuagat eich adeiladaeth mewn pethau ysprydol: Ac os dibrisio a wnewch chwi, neu esceuluso y rhain o'ch gwir-fodd, tebyg ydych i filwyr heb ei Capten, y rhai ydynt allan o ffordd diogelwch a chadwedigaeth.

---

# *Y pedweryd Hyfforddiad.*

C*Yrchwch at Dduw mewn [illegible] gyfannedd o ddifrifol weddio*: Addefwch, a galerwch am eich bucheddau gynt, Ac ymbiliwch am ei ras ef i'ch goleuo a'ch troi. Erfyniwch ar iddo bardynu yr hyn a aeth heibio, a rhoddi i chwi ei Yspryd, a newyd eich calonnau a'ch bucheddau, a'ch arwain yn ei ffyrdd, a'ch cadw rhag profedigaethau. A deliwch wrth y gwaith yma beunydd, ac na flinwch arno. *Hos.* 14. 3. *Luc.* 18. 1.

Gwe-

Gweddiwch gan hynny ar gyhoedd yn eich teuluoedd, ac o'r nailldu yn y dirgel. Arferwch ffurf o weddi, neu lyfr i weddio allan o hono, oni ellwch chwi heb hynny dywallt allan eich deisyfiadau mor weddus ger bron Duw. Er nad yw Gweddi yn gweithio newidiad yn Nuw; etto y mae hi yn ein parattoi ni i dderbyn ei drugareddau ef. *Nid oes gwir râs gan y sawl nid yw'n arfer gweddio.* Eithr cofiwch, fod Duw yn gwneuthur mwy o gyfrif o wirionedd, a thaerni dymuniadau eich calonnau chwi, nag o'ch geiriau chwi. Er hynny, ni ddylem bôb amser ymegnio i ochelyd geiriau anweddus mewn gweddi, pa un a'i yn y dirgel a'i yn yr amlwg, ond yn fwy enwedigol pan y gweddiom ni o flaen eraill.

---

# *Y pummed Hyfforddiad.*

*RHoddwch heibio eich pechodau hynod a gwyllt-ffol yn ebrwydd: Sefwch, ac nad ewch ddim pellach y ffordd honno.* Na feddw-wch ond hynny; Eithr gochelwch y lle a'r achlysur o hono. Bwriwch ymaith eich

eich trachwantau a'ch melusſwedd pechadurus, gan eu ffieiddio. Na regwch, ac na thyngwch, ac na cheblwch mwyach; Ac os gwnaethoch gam â neb, telwch yn ei ôl, fel y gwnaeth *Zacchens*. Os eich hên bechodau a wnewch chwi eilwaith, pa fendith a ellwch chwi ddiſgwil ar y moddion i'ch Troi. *Eſay* 55. 7.

Onid ydych yn caſhau pechod, nid ydych yn gwir ediſarhau: ac os ydych yn ei gaſhau ef, chwi a ffowch rhagddo. Nid yw 'r Edifeirwch a'r grefydd, ſydd heb nerth a grym ynddynt, i wneuthur i chwi adael ymaith fywyd cnowdol, bydol, ac annuwiol, ond Rhithedifeirwch a chrefydd ofer. Yr ych chwi yn ymwrthod â Duw, a Chriſt Jeſu, ac â'r Yſpryd Glân, oni ymwrthodwch â Phechodau adnabyddus a llawn-frydic, er haeru o honoch eich bôd yn edifeiriol.

---

# *Y Chweched Hyfforddiad.*

*NEwidiwch eich cymdeithas ar frŷs, os yw boſſibl, os drwg a fu hi hyd yn hyn:* Nid trwy ymwrthod a'ch Perthynaſau angenrheidiol, ond a'ch cymdeithion pechadurus afreidiol; *Ac ymgyſylltwch â'r rhai ſydd*

*yn ofni yr Arglwydd*, ac ymofynnwch a hwynt am y ffordd ir nefoedd. *Act.* 9. 19. 26. *Psal.* 15. 4. *Psal.* 26. 4. 5.

Y mae cymdeithas, (yn enwedig yr hon sy'n rhyngu bôdd i ddynion,) yn dangos beth yw eu calonnau hwynt, ac y mae ynthi allu mawr i wneuthur pobl, naill a'i yn well, neu ynteu yn waeth. Y mae y gwahaniaeth sydd rhwng nêf ac uffern yn sefyll yn fawr yn y gwahaniaeth o gwmpeini: oh mor anhawdd ydyw myned i'r nefoedd yn newisol gyfeillach y rhai sy'n myned tuag uffern! ond yn ben-disaddeu ffowch oddiwrth gyfeillach anllad a godinebus; ac oddiwrth gyfeillach ofer-wyr, a meddwon, a'r cyfryw, ac a'ch denent i ryngu bôdd i'ch cnawd, ac i golli eich hamser; ac oddiwrth gyfeillach gelynion cynfigennus, a gwatwar-wyr buchedd sanctaidd.

---

# Y seithfed Hyfforddiad.

RHoddwch eich hunain ir Arglwydd Jesu, *megis physygwr eich eneidiau*, fel y pardyno efe chwi trwy ei waed, ac ich sancteiddio trwy ei Yspryd, trwy ei Air, ai Weinidogion, y rhai ynt offerynnau yr Yspryd. *Efe*

*yw*

*yw y ffordd, y gwirionedd a'r bywyd, Nid oes mor dyfod at y Tad ond trwyddo ef,* Joan, 14. 6. *Nid oes chwaith un enw arall dan y nefoedd, drwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fôd yn gadwedig,* Act. 4. 12. Myfyriwch, gan hynny ar ei Berson ef a'i naturiaethau; a pheth a wnaeth ac a ddioddefodd drosoch, a pha beth ydyw efe i chwi, a pha beth a fydd, a pha fôdd y cymhwysfwyd ef i lawn gyflowni eich holl angenrheidiau.

Ni wyddoch chwi ddim yn iawn, onid ydych yn adnabod Crist megis yr unig Brynwr, a'r Achubwr o ddynol ryw, trwy ba un y mae i ni gael maddeuant pechodau, cymmorth yr yspryd glân, a sail i'n holl obaith, a chyfeillach gydâ Duw.

---

# *Yr VIII. Hyfforddiad.*

OS ydych chwi mewn gwirionedd ar fedr Troi a Byw, *gwnewch hynny yn ebrwyd, yn brysur, yn ddiymdro.* Onid ych chwi yn ewyllysgar heddyw, nid ych chwi ddim yn ewyllysio moi wneuthur. Cofiwch eich bod hyd y pryd hyn yn eich gwaed, tan euogrwydd llawer mil o bechodau, a than ddigofaint

gofaint Duw, a'ch bôd yn sefyll ar ymyl Vffern, ac nad oes ond cam rhyngoch ac angeu. Ac nid yw hwn gyflwr, i ddyn a'r sydd yn ei iawn bwyll, i fôd yn llonydd yntho. Cyfodwch gan hynny ar frŷs, a ffowch fel ped fai am eich hoedl; Megis ped fyddech yn myned allan o'ch tŷ petteu efe ei gyd ar dân uwch eich pen. Oh pes gwyddech pa berygl gwastadol yr ydych yn byw yntho, a pha golled anrhaethadwy yr ych beunydd yn ei goddef, a pha fywyd diogelach a hyfrydach a ellych chwi fyw, ni safech chwi i ymchwidawieth, Eithr chwi Droech ar frŷs. Mae bagad yn mogu yn eu bwriadau i droi at Dduw, darfyddo ddwyn ar ddeall iddynt fod yn rhaid ei wneuthur. Byrr ac ansiccr yw eich einioes, a pha ryw gyflwr yr ydych chwi yntho, os byddwch feirw cyn i chwi lwyrddychwelyd? Chwi a arosassoch yn rhy-hir eusoes, ac a wnaethoch gam a Duw yn rhy-hir; Mae pechod yn cryfhau ac yn gwreiddio tra yr ydych chwi yn oedi; eich Troedigaeth a brifia y nanhaws ac yn betrusach. Mae i chwi lawer iw wneuthur. O herwydd pa ham, na fwriwch ymaith mor cwbl tan y diwedd, rhag i Dduw eich gwrthod, a'ch rhoddi i fynu i chwi eich hunain, ac yna fe ddarfu am danoch yn dragywydd.

Y mae 'r Bywyd hwyaf yn ebrwydd yn darfod, ac nid yw 'r cwbl ond byrr ddigon i barattoi erbyn stat dragwyddol. Nac ewch i gyscu noswaith ychwaneg nes yr edifarhaoch

och, ac y rhoddoch eich hunain i fynu i Dduw. Peth echrydus yw, i ddyn nid yw ficcr o fyw yn y Bŷd un awr arall i aros munedyn yn y cyfryw yftat, ym mha un, pe cei marwolaeth afael arno, y byddei yn ddamnedic dros fŷth.

---

# Y IX. *Hyfforddiad.*

OS *mynnwch chwi Dychwelyd a Byw*, gwnewch hynny yn ddi-ddarn- ymeiriach, *yn hollawl, ac yn llwyr-gwbl.* Na feddyliwch ymddarnio â Chrift, a rhannu eich calon rhyngtho ef a'r byd ; ac ymadel â fwrn o bechodau a chadw y lleill, a gollwng ymaith yn vnic yr hyn a allo y cnawd ei hepcor: Nid yw hyn ond eich fiommi eich hunain : Rhaid i chwi o'r galon ac yn llwyr-fryd ymwrthod â chwbl oll ar a feddwch, neu ni ellwch fôd yn ddifcyblion iddo ef, *Luc.* 14. 26, 33. Os chwy-chwi ni chymmerwch Dduw a'r nefoedd yn eich rhan, a gofod y cwbl ar lawr wrth draed Chrift, ond bôd yn rhaid i chwi hefyd gael rhan ddaiarol, ac nad yw Duw a'r nefoedd i chwi yn ddigon : Nid gwiw

breu

breuddywydio am iechydwriaeth a'r yr ammodau hyn: Am nad yw hynny i fôd. Os ydych yn ymddangos mor grefyddol ac a all ei fôd, etto onid yw hynny ond crefydd gnawdol, a bód llwyddiant, neu ddifyrrwch neu ddiogelwch y cnawd fyth-fytn yn cael ei neulldduo yn eich dwyfol wasanaeth i Dduw; Mae hon cyn ficcred ffordd i ddamnedigaeth, ac a ydyw Halogrwydd amlwg, er iddi fod yn fwy cymmeradwy.

Ffydd yw ymddiried yn haeddedigaethau, cyfarwyddiad, a chyfryngdod Crist, am ein holl ddedwyddwch ymma ac a'r ôl hyn. Os addaw Tywysog i garcharor Deyrnas tu hwynt i'r môr, os ymedi â'i wlâd, ac ymddiried iw air ef; nid yw y carcharor yn ymddiried ynddo, onid yw cym-mhelled yn rhoddi ei hunan i fynu iw gyfarwyddiad a'i archiad ef, ac i ymdael â'r cwbl, ac i fyned gydag ef tros fôr a thir nes y caffo efe ei ddiben. Rhagrithwr yw 'r hwn sy 'n rhoi i'r Bŷd y lle cyntaf yn ei galon, ac i Dduw yr ail; ac a fynn y nefoedd yn lle lloches yn vnic, pan nad allo feddiannu 'r bŷd yn hwy. Fe ddylei Dduw gael yr holl galon, eithr fe fynn y lle pennaf ynddi neu ddim.

# Y X. *Hyfforddiad.*

OS *mynnwch chwi Ddychwelyd a Byw*, ymrowch iw wneuthur, ac na sefwch syth-syth megis yn ymgynghori, fel pettau betrusder yn y peth. Na sefwch ar sigl fel pedsaech etto yn ansiccr pa un ai Duw, ai eich cnawd yw'r Meistr goreu ; neu pa un a'i 'r nefoedd a'i Vffern yw 'r Diben goreu : neu pa un ai pechod a'i Sancteiddrwydd yw 'r ffordd oreu ? Eithr Ymmaith hwnt a'ch hên drachwantau, ac ymrowch ar frŷs, yn reddfol, ac yn ddiysgog ? Na fyddwch y naill diwrnod o un meddwl, a'r nesaf o feddwl arall ; Eithr byddwch yn cymmeryd eich cennad gyda 'r holl fyd, a rhoddwch eich hunain, a chwbl oll a'r a feddoch o'ch llwyr-fryd i Dduw. Rhoddwch eich bryd a'r hynny yn awr tra 'r ydych yn ddarllain neu yn gwrando hyn. Cyn i chwi gysgu un noswaith ond hynny ymrowch i droi at Dduw. Cyn symflydd o'ch lle ymrowch. Cyn i Satan gael ennyd ich rhwystro, Ymrowch. Ni throwch chwi byth mewn gwirionedd, nes i chwi roddi eich bryd, a hynny o lwyr-fryd cadarn anghyfnewidol. Eithr nid yn eich grym eich hunain y dylaech chwi roddi eich bryd ar droi

droi at Dduw, canys y mae eich calonnau yn anwadal, ac nid oes ymddiried ynddynt; ond yn nerth Crist y dylaech chwi fwriadu hynny; canys efe a ddyru i chwi râs i gyflawni eich pwrpasson; os gwnewch chwi hwynt yn ystyriol, gan fwrw 'r gwaethaf a ddichon ddigwyddo i chwi; a chan gymmeryd Crist a'r nêf yn lle 'ch ôll yn oll, a geisiwch ei yspryd ef, ac a vfyddhewch iw gyfarwyddiad ef, ac a ymddiriedwch eich eneidiau a'ch cyrph gyd ag ef, yr hwn ni thwyllodd neb erioed ac a vfyddhaodd iddo, ac a ymddiriedodd ynddo. Os cymmerwch y cyngor hyn, a gwneuthur yn ei ol ef â chalon onest a pherffaith, chwi a gewch fod yn gadwedic er cymmaint a wnaethoch yn erbyn Duw.

Hynny am yr Hyfforddiadau.

---

WEeithian myfi a wnaethum fy rhan yn hyn o waith, fel y byddo i chwi Ddychwelyd ar Alwad Duw a Byw. Beth a ddaw o hono, ni fedrafi ddywedyd. Eithr nid yw ynofi roddi 'r cynnydd. Nis gallafi fyned â'm cennadwri ddim pellach: Nis gallafi moi Dwyn hi ich calonnau, na pheri iddi weithio; Nis gallafi wneuthur eich rhan chwi, sef ei dderbyn, ai ystyried trosoch: Nis gallaf chwaith wneuthur rhan Duw, trwy agoryd eich calonnau i beri i chwi ei chroesawu

ſawu: Nis gallaf chwaith ddangos mo 'r Nefoedd neu Vffern gar bron eich llygaid; na rhoddi i chwi galonnau newydd a thyner. Pes gwyddwn i beth ychwaneg iw wneuthur o ran eich Troedigaeth, yr wyf yn gobeithio y gwnawn ef.

*Eithr O tydi yr hwn wyt raſol Dad yr Yſprydoedd, yr hwn a dyngaiſt nad wyt yn ymhoffi ym marwolaeth yr annuwiol, onid Troi o honynt a Byw, na naccâ moth fendith ar yr Annogaethau a'r Hyfforddiadau hyn: na a'd chwaith ith elynion orfoleddu yn dy olwg, ac i dwyllwr mawr yr eneidiau orcſcyn yn erbyn dy fab, a'th air, a'th Yſpryd. O toſturia wrth bechaduriaid truein Annychweledic, y rhai nid oes ganthynt galonnau i doſturio wrthynt eu hunain, nac iw cynnorthwyo! Gorchymyn ir dall weled, ac ir byddar glywed; ac ir marw fyw. Ac na chynnwys (neu na âd) i bechod a marwolaeth allael dy wrthwynebu. Deffro y difraw; Hwylia yr anhwylus; Sefydla yr anſefydlog; A gwna i lygaid y pechaduriaid ar a ddarllenant y liniau hyn fod yn neſaf gwaith yn myned ynghylch wylo am eu pechodau; A dwg hwynt attynt eu hunain, ac at dy fab, cyn iw pechod eu dwyn hwynt i ddeſtryw. Os dywedi di ond y gair, hyn o eiddil-wan lafur-waith a ffynna i ynnill llawer o eneidiau iw tragywyddol lawenydd hwy, a'th tragywyddol ogoniant dithau.*

Amen. Diwedd.

# Catechism

## Byrr o waith Mr. RICH. BAXTER, wedi ei gasclu allan o'i lyfr ef i Deuluoedd tlodion.

Cwestiwn. I. P*A beth yw y Grefydd Gristianogawl?*

*Atteb.* Y Grefydd Gristianogawl yw y Cyfammod y wnaer mewn Bedydd, ac a gedwir a'r ôl hynny; ym mha gyfammod y Mae Duw 'r Tâd, y Mâb, a'r Yspryd Glân, yn rhoddi ei Hunan i fod yn Dduw ac yn Dâd heddychlon i ni, ac i fod yn Iachawdwr ac yn Sancteiddiwr i ni; ac yr ydym ninne o'n rhan ni yn rhoddi ein hunain i fynu trwy ffydd iddo yntef; gan ymwadu â'r Cnawd, y bŷd, a'r Cythrael. Ac y mae 'r Cyfammod hwn iw adnewyddu yn fynych, ond yn enwedigol yn y Sacrament o Swpper yr Arglwydd.

Cwesti-

Cweſtiwn 2. *Ym mhâ le y mae ein rhan ni o'r Cyfammod a'n Dyled-ſwydd wedi ei Egluro yn helaethach?*

*Atteb.* Yn y Gredo megis ſwm y Pethau ſydd iw credu. 2. Yng-weddi 'r Arglwydd megis ſwm y pethau ſydd iw Dymuno. 3. Ac yn y Dêg Gorchymyn (fel y rhoddwyd hwy gan Griſt, ynghyd ag efangylaidd eglurhaad o honynt) megis ſwm y pethau ſydd i ni iw gwneuthur a'u harfer. Ac Dymma hwynt-hwy yn canlyn.

# Y Credo.

CRedaf yn Nuw Dâd oll-gyfoethawg, Creawdwr nêf a daiar: Ac yn Ieſu Griſt ei un mâb ef, ein Harglwydd ni: yr hwn a gaed trwy yr Yſpryd Glân, a aned o Fair forwyn: a ddioddefodd dan Pontius Pilatus; a groeſhoeliwyd, a fu farw, ac a gladdwyd, a ddeſcynnod i uffern, y trydydd dydd y cyfododd o feirw; a eſcynnod ir nefoedd, ac y mae yn eiſtedd ar ddeheulaw Dduw Dâd oll gyfoethawg, oddi-yno y daw i farnu byw a meirw. Credaf yn yr Yſpryd Glân, yr Eglwys lân gatholic, cymmun y Sainct, maddeuant pechodau, cyfodiad y cnawd, a'r bywyd tragwyddol. *Amen.*

## Gweddi 'r Arglwydd, Mat. 6.

EIN Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, ſancteiddier dy enw. Deled dy deyrnas: gwneler dy ewyllys, megis yn y nef, felly ar y ddaiar hefyd: dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol; a maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwyr: ac nac arwain ni i broſedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg: canys eiddot ti yw'r deyrnas, a'r nerth, a'r gogoniant yn oes oeſoedd. *Amen.*

## Y Deg gorchymmyn, *Exod.* 20.

DUW a leſarodd yr holl eiriau hyn gan ddywedyd, myfi yw yr Arglwydd dy Dduw; yr hwn a'th ddug di allan o wlad yr Aipht, o dŷ y caethiwed.

1. Na fydded it dduwiau eraill ger fy mron i.

2. Na wna it ddelw gerfiedig, na llûn dim ar y ſydd yn y nefoedd uchod, nac ar y ſydd yn y ddaiar iſod; nac ar y ſydd yn y dwfr tan y ddaiar: Nac ymgrymma iddynt,

ac

ac na wasanaetha hwynt: oblegid mysi yr Arglwydd dy Dduw wyf Dduw eiddigus, yn ymweled ag anwiredd y tadau ar y plant, hyd y drydedd ar bedwaredd genhedlaeth o'r rhai am casânt: ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd, o'r rhai am carant, ac a gadwant fyngorchymynion.

3. Na chymmer enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer: canys nid dieuog gan yr Arglwydd yr hwn a gymmero ei enw ef yn ofer.

4. Cofia y dydd Sabboth iw sancteiddio ef. Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnei dy holl waith, ond y seithfed dydd yw Sabboth yr Arglwydd dy Dduw: na wna ynddo ddim gwaith, tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th wasanaethwr na'th wasanaeth-ferch, nath anifail, nath ddieithr ddyn a fyddo o fewn dy byrth: o herwydd mewn chwe diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd y nefoedd a'r ddaiar, y môr, a'r hyn oll sydd ynddynt, ac a orphwysodd y seithfed dydd: am hynny y bendithiodd yr Arglwydd y dydd Sabboth, ac ai sancteiddiodd ef.

5. Anrhydedda dy dâd a'th fam; fel yr estynner dy ddyddiau ar y ddaiar, yr hon y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei rhoddi i ti.

6. Na lâdd.

7. Na wna odineb.

8. Na ledratta.

9. Na ddwg gam dyſtiolaeth yn erbyn dy gymmydog.

10. Na chwennych dŷ dy gymmydog; na chwennych wraig dy gymmydog, na'i waſanaethwr, na'i waſanaeth ferch, na'i ŷch, na'i aſſyn, na dim ar ſydd eiddo dy gymmydog.

Cweſtiwn. 3. *Ym mhâ Lê yr agorir yn gyfflawn ac y cwbl gynnhwyſir y Grefydd Griſtianogol?*

*Atteb.* Yn yr yſcrythur lân; ond yn enwedic yn y Teſtament Newydd: lle gan Griſt, a'i Apoſtolion, a'i Efangylwyr, a Yſprydoliaethwyd trwy ei yſpryd ef, y traddodir yn ddigonol yr Hiſtori ynghylch Criſt a'i Apoſtolion, lle y perffeithir yr Addewidion a'r Athrawiaethau y ſydd iw credu, ac yr agorir yn dra-eglur Y Cyfammod o Râs, ac yr ordeinir Swyddogion eglwyſig, yngbyd ag Addoliad a Diſgyblaeth yr Eglwys: Ac yng-wybodaeth y rhain, fe ddichon y Criſtianogion cryfa gymmyddu tra fônt byw ar y Ddaiar.

Proffes

# *Proffes y Grefydd Griſtianogawl wedi ei hegluro.*

I. Yr wyfi 'n credu fod ûn Duw; yr hwn ſydd yn Yſpryd annherfynol yn ei Fywyd, ei Ddeall, a'i Ewyllys; yn gwbl-berffaith Alluog, Doeth, a Da, y Tâd, y Gair, a'r Yſpryd; Creawdwr, Llywodraethwr, a Diben pôb dim ôll; ein Perchenogwr llwyrgwbl, a'n Rheolwr trachyfiawn, a Rhoddwr graſuſaf y pethau da hynny i ni, ac ydym ni yn eu meddiannu, a'n Da hawddgaraf.

II. Yr wyfi 'n credu gwympo o Ddŷn, yr hwn a greuwyd yn yſpryd wedi gyſſylltu â chorph, ar lûn Duw, mewn *Bywyd*, *Deall* ac *Ewyllys*, ynghyd a bywiowgrwydd ſanctaidd, Doethineb, a chariad, i adnabod, a charu, a gwaſanaethu ei Greawdwr yn y Byd hwn, ac yn y Byd y beri byth; yr wyfi 'n credu meddafi, i Ddyn trwy bechu o'i wir-fodd, gwympo oddi wrth ei Dduw, ac oddi wrth ei ſanctciddrwydd a'i Ddiniweidrwydd, a'i fôd ef yn gorwedd tan ddigofaint Duw, tan felltith a damnedigaeth y Gyfraith, a chathiwed y Cnawd, y Bŷd, a'r Cythrael. Ac yr wyfi 'n

 credu

credu ym-mhellach, Garu o Dduw y Bŷd yn gymmaint, ac y rhoddodd efe ei unig anedig Fâb i fôd yn Achubwr iddynt: yr hwn, ac efe yn Dduw, ac yn un â'r Tâd, y gymmerodd ein natur ni arno, ac a ddaeth i fôd yn Ddŷn; a gaêd trwy yr Yſpryd Glân, a anwyd o *Fair* forwyn, ac a enwyd *Ieſu*: yr hwn y-doedd yn gwbl-ſanctaidd, yn ddi-bechod, ac y gyf-lawnodd pób cyfiawnder, a orchfygodd y Cythrael a'r Bŷd, ac a'i rhoddodd ei hun yn Aberth tros ein pechodau ni, trwy ddioddef marwolaeth felltigedic ar y Groes, i'n Prynu ni, ac i'n cymmodi ni â Duw; a gladdwyd, ac a aeth ym-mlhith y Meirw, ac a gyfododd drachefn y trydydd dydd, wedi gorchfygu Marwolaeth. Ac efe a gwbl ſefydlodd y Cy-ſammod o Râs, fel ac a dichon pawb, ac a wîr edifarhâant ac a gredant, gael Cariad y Tâd, Grâs y Mâb, a Chymmundeb yr Yſpryd Glân; ac os gwir garant hwy Dduw, ac os ufyddhânt iddo yn ddiragrith, hwy a gânt eu gogoneddu ganddo yn dragywyddol yn y Nefoedd: Ac fe gaiff yr Anghredadwy, y Di-edifeiriol, a'r Annuwiol fyned i goſpedigaeth dragwyddol.

A chwedi rhoddi gorchymyn iw Apoſtolion i bregethu 'r Efengyl i'r holl genhedloedd, ac addaw danſon yr Yſpryd Glân, efe a eſgynnodd i'r nefoedd; lle y mae efe yn Ben gogoneddus vwch-law pob peth i'r Eglwys, ac yn Eiriolwr ſy'n cael ei wrando gan y Tâd; yr hwn a dderbyn yno Eneidiau y rhai a gyfiawnheuir yn ôl eu ymadawiad â'u Cyrph:

Ac a'r Ddiwedd y Bŷd hwn, efe a ddaw drachefn, ac a gyfyd yr holl rai Meirw, ac a farna bawb yn ôl eu gweithredoedd, ac a gyflawna ei farn yn dra-chyfiawn.

III. Yr wyfi 'n credu fod Duw 'r Yspryd Glân wedi ei roddi gan y Tâd a'r Mâb, i'r Prophwydi, a'r Apostolion, a'r Efangylwŷr, i fod yn Arweinydd ac yn Gyfarwyddwr diddwyll iddynt, wrth bregethu, a scrifennu Athrawiaeth iechydwriaeth; ac i fôd yn Dyst o siccr wirionedd yr Athrawiaeth honno, trwy ei amryw dduwiol weithrediadau; ac i fywoccau, goleuo, a sancteiddio yr holl rai sy'n cywir gredu, fel y gallont orchfygu y Cnawd, y Bŷd, a'r Cythrael. A phawb ar a sancteiddier fel hyn, ydynt yn Eglwys lân Gatholic i Grist, a rhaid iddynt fyw mewn cymmundeb sanctaidd, ac hwy a gânt faddeuant o'u pechodau, a Bywyd tragywyddol.

Gan gredu fel hyn yn Nuw y Tâd, y Mâb, a'r Yspryd Glân, yr wyfi yn rhoddi fy hunan i fynu iddo yr awr-hon, yn hollawl, ac o lwyr-frŷd calon, fef, i'm Creawdwr, a'm Duw, a'm Tâd heddychlon, fy Iachawdwr a'm Sancteiddiwr: A chan edifarhau am fy mhechodau, yr wyfi 'n ymwrthod â'r Cythrael, a'r Bŷd, a phechadurus chwantau y Cnawd: a chan ymwadu â mi fy hun, a chymmeryd i fynu fy nghroes, yr wyfi yn cydsynnio, ac yn cyttuno i ddilyn Crist Tywysog fy iechydwriaeth, mewn gobaith i

feddiannu y Grâs a'r Gogoniant y mae fo'n ei addaw.

# Gweddi blaen a byrr iw harfer mewn Teuluoedd, foreu a hwyr.

HOll-alluog a thra-grafusaf Dduw, yr hwn wyt yn gweled pob peth! y Bŷd a'r hyn ôll fydd ynddo, a greuwyd, a gynhelir, ac a drefnir gennit ti: yr wyt ti yn brefennol ym-mhôb mânn, gan fod yn fwy nag enaid i'r holl fŷd.

Er dy fod ti yn ddatcuddiedig yn dy dra-rhagorol ogoniant, ir rhai hynny yn vnig y fy'n prefwylio yn y nêf: etto y mae dy râs di yn oeftadol ar waith ar y ddaiar, i gymhwyfo dynion ir Gogoniant hwnnw.

Ti a'n gwnaethoft ni, nid megis yr Anifeiliaid a ddifethir, ond ag Eneidiau anfarwol gennym, ith adnabod, a'th geifio, a'th wafanaethu di ymma, ac ar ôl hynny, i fyw gydâ'r holl rai bendigedig, i feddiannu golwg tragwyddol ar dy Nefol Ogoniant di, a digonolrwydd o lawenydd oddiwrth dy berffaith Gariad a'th foliant.

Eithr y mae cywilydd arnom feddylied, mor ynfyd, ac mor bechadurus yr anghofiafom,

asom, ac y dibrisiasom ein Duw a'n Eneidiau, a'n gobaith o anfarwoldeb gwynfydedig; gan osod ein serch yn ormod ar bethau y gweledig a'r difflannedig Fŷd presennol, ac ar hawdd-fyd a digriswch ein Cnawd llygredig, yr hwn a wyddom ni y gorfydd arno droi i bydredd a llŵch.

Ti a roddaist i ni Gyfraith gyfiawn a da, i'n cyfarwyddo ni yn yr unic ffordd i fywyd; a phan ddinistriasom ein hunain trwy bechod, Ti a roddaist i ni Iachawdwr, sef dy Air tragywyddol, yr hwn a wnaethpwyd yn Ddŷn, yr hwn a'n heddychodd ni â thydi trwy ei fywyd sanctaidd, a'i chwerw ddioddefaint, ac a bwrcassodd i ni iechydwriaeth, ac a'i datcuddiodd hi i ni hefyd, yn well nag y gallase vn Angel o'r Nef ei wneuthur, pe danfonasit ef attom ni bechaduriad ar y cyfryw Gennadwri.

Eithr och leied cyfrif a wnaethom ni o'n Achubwr! ac o'r holl gariad hwnnw a ddangosaisti trwyddo ef! ô lleied a feddyliasom, ac y ddeallasom am y Cyfammod o Râs, a wnaethosti trwyddo ef á cholledic ddynolryw, ac o'ch leied yn enwedic yr vfyddhasom iddo.

Eithr ô Dduw, Bydd drugarog wrthym ni bechaduriaid gwael a thruain! A maddeu i ni ein holl lygredigaeth naturiol, ac ynfydrwydd ein ieuengctid, a holl anwybodaeth, esceulusdra, diffygion, a throseddiadau ein bywyd:

bywyd: a dyro i ni wir Edifeirwch am danynt, heb yr hon ni a wyddom na faddeui di mo *honynt* hwy.

Nid yw 'n bywyd ni ond megis cyſcod ſy'n myned heibio, ac nid oes ond ennyd fechan hyd oni bydd raid i ni ymadael â'r bŷd hwn, ac ymddangos o'th flaen di, i roddi cyfrif am a wnaethom ni ymma, ac i fôd dros fŷth mewn cyflwr megis ac y rhag-baratoeſom ni ymma.

Ped faem ni 'n marw, cyn i ti droi 'n calonnau ni, oddiwrth ein cnawd, a'r bŷd pechadurus, attat ti trwy wîr Ffydd ac Edifeirwch, ni fyddem colledig tros fŷth.

Oh Gwae ni ein geni erioed, os tydi ni faddeui ein pechodau, ac ni 'n gwnei yn Sanctaidd cyn darfod y byrr a'r anſiccr fywyd hwn!

Pe bae gennym ni holl olud a meluſ-wedd y bŷd hwn, hwy a'n gadawent ni ar fyrder mewn mwy triſtwch.

Ni a wyddom nad yw ein holl fywyd ni, ond amſer a ganniattaodd dy drugaredd di, i ni i ymbaratoi ynddo erbyn awr Angeu: ac am hynny nis dylem ni oedi ein Hedifeirwch a'n paratoad hyd ein clâf welŷ: yn awr gan hynny ô Arglwydd, megis pe baem yn dywedyd ein geiriau diweddaf, yr ydym yn daer yn deiſyf arnat, yn raſſol i faddeu ein pechodau, ac i'n ſancteiddio, trwy haeddedigaethau ac erſynniad ein Achubwr Ieſu Ghriſt!

O

O Tydi yr hwn a dosturiaist wrth bechaduriaid gresynol, ac a gedwaist cynifer mîl o honynt, tosturia wrthym ninne hefyd, a chadw ni, fel y gallom ogoneddu dy râs di dros fŷth.

Yn ddiammeu nid wyt ti yn ymhoffi ym marwolaeth pechaduriaid, ond yn hyttrach ar iddynt ddychwelyd a byw: Pe buasit ti anewyllysgar i ddangos trugaredd, ni phrynasit ti mo honom ni â phrîs mor werthfawr; ac ni ddeisyfiasit ti arnom ni cyn fynyched i ymheddychu â thydi: Nid oes gennym achos i wanffyddio dy wirionedd neu 'th ddaioni di; eithr yr ym ni'n ofni, rhac cael o honom ein difetha gan Anghrediniaeth, a balchder, a rhagrith, a chalon fydol gnowdol. O cadw ni rhac Satan, a'r byd hudolaidd hwn, ond yn enwedigol rhagom ein hunain. Dysc i ni wadu pôb annuwioldeb a chwantau cnawdol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y bŷd sydd yr awron.

Gwna i ni ymdrechu i wneuthur hyn yn orchwyl penaf i ni beunydd, sef i ryngu bôdd i ti, i dryssori Tryssorau yn y Nêf, i siccrhau i ni'n hunain fywyd gwynfydedig gydâ Christ, ac i ymddiried yn heddychlon i ti am ein heneidiau a'n cyrph.

Gwnâ ni'n ffyddlon yn ein galwadigaethau, ac yn ein dyledswyddau tuagat eu gilydd, a thuagat bawb, sef ein blaenoriaid, ein cydrâdd, a'r neb a fyddo yn is-râdd inni. Bendithia

y

y Brenhin a phawb ſy mewn Awdurdod, fel y gallom ſyw bywyd llonydd ac heddychol, mewn pôb Duwioldeb ac oneſtrwydd.

Dyro Weinidogion doeth, ſanctaidd, ac heddychlon i holl Eglwyſi Criſt, a chalonnau ſanctaidd a thangnefeddus i'r bobl: Trô attati y cenhedloedd ſydd yn ddi-ffydd yn y Bŷd.

*Yn y Borau.*

AMddiffyn ni, cyfarwydda ni, a bendithia ni y dydd heddyw, yn ein holl ffyrdd a'n gorchwylion cyfreithlon, a chadw ni rhag malis Satan a dynion drwg, a rhag y drygau y mae 'n pechodau yn barod i dynu ar ein gwartha; Fel y gallom ni yn yr hwyr, roddi i ti ddiolchgarwch llawen, trwy Ieſu Ghriſt ein Iachawdwr.

*Yn yr Hwyr.*

AMddiffyn ni y nôs hon rhag pob math o ddrwg, a dyro i'n cyrph a'n heneidiau y fath eſmwythder, ac a'n cymmhwyſo ni i orchwylion y dydd ſy'n canlyn er mwyn Ieſu Griſt ein Iachawdwr.

A gwna i ni, ac i'th holl bobl, geiſio o flaen dim Sancteiddiad dy enw di, a dyfodiad dy Deyrnas di, a gwneuthur dy ewyllys di ar y ddaiar megis yr ydys yn ei wneuthur yn y nef; Dyro i ni ein Bara beunyddiol,

ſef pôb peth angenrheidiol i fywyd a duwiol-deb, a phâr i ni fôd yn fodlon i hynny.

Maddeu i ni ein pechodau beunyddiol, a bydded dy Gariad a'th Drugaredd di yn ein cymmell ni, i'th garu di yn fwy nâ phôb peth arall, ac er dy fwyn di, i'garu ein cymmydogion megis ein hunain, ac yn ein holl weithredoedd tuag attynt, i wneuthur cyfiawnder a thrugaredd, megis y dymunem ni i eraill wneuthur i ninneu.

Cadw ni rhac profedigaethau niweidiol, rhac pechod, a rhac dy farnedigaethau; a rhag malis ein gelynion yſprydol a chorporol: A bydded i'n holl Feddyliau, a'n Anwydau, a'n Gwyniau, a'n Geiriau, a'n Gweithredoedd, gael eu Llywodraethu trwy dy Air a'th Yſpryd di, fel y bo 'r cwbl er Gogoniant i'th enw di.

Gwna i ni gael hyfrydwch yn ein holl Grefydd a'n hufydd-dod; a chaniattá i'n eneidiau y fath ddifyrrwch yn ein gwaith yn moliannu dy Deyrnas, ath Allu, a'th Ogoniant, ac y bo hynny yn diogelu, ac yn pereiddio ein llafur y dydd, a'n Cwſc y nôs, ac yn ein cadw ni mewn hiraethus a llawen obaith am y Gogoniant nefol:

A bydded Grâs ein Harglwydd Ieſu Griſt, a chariad Duw ein Tâd, a Chyfeillach yr Yſpryd Glân gydâ ni yn awr, ac yn oes oeſoedd, *Amen.*

# Gweddi fyrr i Blant a Gwasanaeth ddynion.

Y Byth fywiol a'r tra-gogoneddus Dduw, sef y Tàd, y Mâb, a'r Yspryd Glân! Anfeidrol yw dy Allu, a'th Ddoethineb, a'th Ddaioni di.

Tydi a greaist yr holl Fŷd, ac a brynaist bechadurus a cholledig ddynol ryw, ac a wyt yn sancteiddio dy Etholedigion.

Ti a'm gwnaethost i yn enaid byw, ac yn berchennog o reswm, ac a'm gosodaist i tros amser yn y Cnawd a'r Bŷd hwn, i'th adnabod, a'th garu a'th wasanaethu di fy Nghreawdwr, â'm holl galon, â'm holl Feddwl, ac â'm holl Nerth, fel y gallwn gyrhaeddyd ar y diwedd y gwobr o Ogoniant nefol.

Ynghylch hyn y dylasai fod fy ngofal mwyaf, a hwn a ddylasai fod fy ngorchwyl pennaf, a difyrrwch fy holl Fywyd: yr oeddwn i'n rhwym i hynny trwy dy Gyfraith di: ac fe'm gwahoddwyd i hynny gan dy Drugaredd di: Ac yn fy Medydd, fo'm cyssegrwyd i i'r Fuchedd sanctaidd hon, trwy Gysammod ac Addunedd parchedig.

Eithr och! Myfi a dorrais y Cysammod hwnnw, ac a fûm yn rhy-anffyddlon ynddo: Myfi a anghofiais ac a esceulusais y Duw, yr Iachawdwr,

Iachawdwr, a'r Sancteiddiwr, i'r hwn i'm cyssegrwyd ac i'm rhwymwyd: ac a sawr wasanaethais y Cythrael, y Bŷd a'r Cnawd, y rhai yr ymwedais â hwynt: Fo 'm ganwyd i mewd pechod, ac mi sûm byw yn bechadurus: Mi sûm rhy-ddiofal am sy Enaid anfarwol, ac am y Gwaith mawr, yr hwn i'm crewyd ac am prynwyd oi blegid: Myfi a dreuliais lawer o'm hamser gwerthfawr mewn oferedd, ac mewn drwg amcanion, ac i ryngu bôdd fynghnawd llygredig: Ac mi a galedais sy nghalon yn erbyn yr Addysc, trwy yr hon yr oedd dy lân Yspryd a'm Dyscawdwyr, a'm Cydwybod sy hun, yn galw arnaf i edifarhau ac i ddychwelyd attat ti.

Ac ynawr Arglwydd, megis vn tan argyhoeddiad, yr wi'n cysaddef, fy môd yn haeddu cael fyng-wrthod gennit ti, a'm rhoddi i fynu i Drachwant ac ynfydrwydd sy nghalon sy hun, a chael sy mwrw allan o'th bresennoldeb gogoneddus i Ddamnedigaeth dragywyddol.

Eithr, gan roddi o honot Iachawdwr i'r Byd, a gwneuthur o honot Gyfraith o râs, gan addaw Maddeuant pechodau ac iechydwriaeth trwy ei haeddedigaethau ef, i bôb gwir gredadyn edifeiriol, yr wyfi â chalon ddiolchgar yn derbyn trugaredd dy Gysammod yn Iesu Ghrist.

Yr wyfi 'n ostyngedig yn cysaddef sy mhechod a'm euogrwydd. Ac yr wi'n bwrw sy enaid gresynol ar dy Râs di, ac ar Haeddedigaethau

digaethau, ac Aberth, ac eiriolaeth fy Iachawdwr. O Maddeu holl bechodau fy nghalon a'm bywyd llygredic. Ac megis Tâd heddychlon derbyn fi yn lle vn o'thBlant: a dyro i mi dy Yspryd i'm hadnewyddu, ac i fod ynofi yn wreiddyn o Fywyd, a goleuni, a chariad sanctaidd; ac i selio a thystiolaethu i'm henaid, fy môd yn eiddoti.

Bydded i'th Lân Yspryd fywoccau fy nghalon farw, a meddalhau fy nghalon galed: Bydded iddo oleuo fy Neall tywyll a digrêd trwy wybodaeth eglurach, a ffydd gadarnach: Troed fy 'wyllys, i fod yn barod i vfyddhau ith sanctaidd ewyllys di : Bydded iddo ddatcuddio im henaid dy dra-ryfeddol gariad ynGrist, a'm llenwi â chariad tuag atati a'm Prynwr, a thuag at dy holl sanctaidd Air a'th weithredoedd; hyd oni ddiffodder ynofi fy holl bechadurus gnawdol gariad, ac y troer fy melusfwedd pechadurus yn hyfryd ddifyrrwch yn Nuw.

Dyro i mi ostyngeiddrwyd a c iselder calon, a pharodrwydd i ymwadu â mi fy hun, a chadw fi rhac y mowrion a'r câs bechodau o Hunan-geisio, Bydoldeb, a Balchder.

O Gosod fy nghalon ar Ogoniant y Nêf, lle'r wi 'n gobeithio ar fyrder cael byw gydâ Christ a'i holl rai sanctaidd, i'th garu, a'th foli, gan dy weled di y Duw cariadus er diddanwch i'm Henaid tr os fŷth.

Na naccá i mi y cynnorthwyon a'r trugareddau, y sydd anghenrheidiol tuag at fy sancteiddrwydd a'm iechydwriaeth. A gwna i

mi fyw mewn gwastadol barrottoad, erbyn marwolaeth gyssurus a dienbyd: canys pa lesâd i mi os ennillwyf yr Holl Fŷd, a cholli fy Enaid, a'm Iachawdwr, a'm Duw.

*Hyn i Blant.*

Bydded dy fendith di ar fy Rhieni a'm Llywodraethwyr: Pâr iddynt fy hyfforddi a'm dwyn i fynnu yn dy ofn di: A gwna i minne dderbyn eu haddysc yn ddiolchgar, a'u caru, a'u hanrhydeddu, ac vfyddhau iddynt, mewn vfydd-dod i ti.

Cadw fi rhag Maglau drwg gyfeillach, rhag Profedigaethau, a melysfwedd ieuengctid; a bydded i mi fod yn gyfaill ir rhai sydd yn dy ofni di.

Gwna i fyfyrdod yn dy Gyfraith di, fod yn hyfrydwch beunyddiol

*Hyn i wasanaethddynion.*

Ac megis ac i'm gwnaethost yn wasanaeth-ddŷn, gwna i mi fod yn gydwybodol, ac yn ffyddlon yn fyng alwadigaeth, ac yn yr hyn yr ymddiriedwyd i mi am dano, ae yn ofalus ynghylch gorchwylion a phethau fy Meistr, megis y byddwn ynghylch yr eiddo fy hun. Gwna i mi fod yn ddarostyngedig ac yn vfydd i'm Llywodraethwyr; cadw fi rhag pen galedrwydd a balchder, rhac grwgnach ac ymadroddion ammharchus, rhag ffalsedd, diogi, a phôb math o Dwyll: fel y b

ol i mi; ac na fydded imi byth fod a nôd yr annuwiol arnaf, sef, *i fod yn caru melys-chwant yn fwy nag yn caru Duw.* Cynnysgaedda fy ieuengctid â'r-fath Dryssorau o Ddoethineb a sancteiddrwydd ac a ddichon gynnyddu beunydd, a chael eu harfer i'th Ogoniant di.

bo i mi wasanaethu, nid âllygad-wasanaeth gan ryngu bôdd i'm nwyf a'm trachwant-tau cnawdol; ond gallael o honofi gyflawni fy nyledswydd yn siriol ac yn ewyllysgar gan gredu dy fôd ti yn ddialudd ar bob anffyddlondeb. A chaniattáa i mi allael gwneuthur fyng wasanaeth nid yn unig megis i Ddyn, ond megis i ti yr Arglwydd, gan ddisgwyl am fyngwobr pennaf oddiwrthit ti.

A hyn ôll yr wyfi yn ddeisyf ac yn gobeithio eu cael, er mwyn haeddedigaethau a chyfryngdod Iesu Grist, gan ddibennu yn y Geiriau y ddyscodd efe i ni, gan ddywedyd; *Ein Tâd yr hwn wyt yn y Nefoedd,* &c.

# *Gweddi a chyffes i Bechadur Edifeiriol.*

O Anfeidrol, tra-doeth, a thra-grasusaf Dduw, Er dy fôd ti yn casshau holl weithredwyr anwiredd, ac nad elli ymheddychu a phechod; etto rhynged bôdd i ti, i edrych yn dosturiol, trwy gyfryngdod dy Fâb bendigedig ar Bechadur gresynol, sy'n darostwng ei hunan wrth droedfaingc dy Râs di.

Pe buaswn i yn byw i'r dibennion vchel a sanctaidd hynny, er mwyn y rhai i'm crewyd ac i'm prynwyd, Mysi allaswn yn awr ddyfod attat ti gydag hyfdra Plentyn, mewn siccrwydd o'th dadol Gariad a'th ffafor: Eithr mysi a wnaethym yn ynfyd, ac a wrthryfelais i'th erbyn di.

Mysi a anghofiais o'm gwirfodd y Duw a'm gwnaeth i, a'r Iachawdwr a'm Prynodd i, a'r Gogoniant tragywyddol a osodaisti o'm blaen i. Mysi a anghofiais y gorchwyl y dansonaist fi i'r bŷd oiblegyd, ac a fûm byw megis na'm creassit er mwyn dim arall, ond i dreulio ychydic o ddyddiau mewn melysswedd cnawdol, ac i besci celain i bryfed.

Mysi a anghofiais yn wyllt-ffôl, beth ydyw bod yn Ddyn, i'r hwn y rhowd rhesswm i reoli

reoli ei gnawd, ac i adnabod ei Dduw, ac i rag-weled ei farwolaeth a'i ystât o dragywyddoldeb: Ac mi a wnaethum fy Rheswm yn wâs i'm synhwyrhau cnawdol, ac a fûm byw yn rhy-debyg i'r anifeiliaid a ddifethir. O yr amser gwerthfawr y gollais i, yr hwn ni ddichon yr holl fyd ei alw 'n ôl! O y gwahoddedigaethau o râs a esceulusais i! O yr addysc dduwiol a wrthwynebais i! O y cariad rhyfeddol y wrthodais i yn anniolchgar, a'r amryw drugareddau y gam-arferais i, ac a droais i drythyllwch a phechod! O faint yw 'r euogrwydd yr wyfi 'n gorwedd tano! a maint yw'r cyssuron a gollais i! Pe cymmeraswn i fy rheoli gan dy gyfion gyfreithiau, myfi a allaswn trwy gydol hyn o amser fyw yn dy Gariad di fy Nuw grasussaf; ac yn Niddanwch dy Air a'th ffyrdd sanctaidd; yn yr hyfryd a'r beunyddiol rag-weliad o'r Nêf, ac ynghyssuron yr Yspryd Glân. Eithr myfi a wrandewais ar y cnawd, ac ar y Byd drwg twyllodrus hwn; ac a dybiais fôd y Bywyd byrr pechadurus yn y byd hwn yn well nâ'th Gariad a'th dragywyddol Ogoniant di.

Ond Gwae fi! pa beth a fûm i yn ei wneuthur wedi fy nyfod i'r Byd? yn ddiau myfi a werriais fy amser mewn ynfydrwydd a phechod. Mae cywilydd arnaf i edrych yn ôl ar y blynyddoedd y dreuliais; ac i feddylied am y profedigaethau y rhoddais i lê iddynt! och pa Deganau a gwael bethau a'm hudasant

hudaſant i oddiwrth fy Nuw? Oh leied y gefais i, am y digrifwch ſanctaidd a gollais i? Megis *Eſau* halogedig mi a werthais fyng enedigaeth-fraint am un ſaig o fwyd, ſef am fwyniant y pechod. I ryngu bôdd i'm Tŷb, a'm nwŷf, a'm trachwant, myfi a ddibriſſiais holl lawenydd y Nefoedd! Ac yn anraſſol mi a ddirmygais ddaioni fyng wneuthurwr, ac ni wnaethym i ond cyfrif gwael o Gariad a Grâs fy Mrhynwr! Mi a wrthwynebais yr Yſpryd Glân, a ddiſtewais fyng-hydwybod fy hun, ac a driſtheais dy Weinidogion a'm cyfeillion ffyddlonaf! Ac yr wyfi wedi fy'nwyn fy hunan i'r ſâth gyflwr echrydus ac yr wyfi 'n warth ac yn faich i mi fy hun. Ac y mae Duw yn ddychryn i mi, yr hwn a allaſai fôd fy vnig obaith a'm llawenydd.

Mae fy'n nirgel bechodau ſy'n anhyſpys i ddynion yn hyſpys i ti! Ti a wyddoſt drymmed ydynt oll! Fy mhechodau ô Arglwydd a'm goddiweddodd! Fy ofn a'm triſtwch ydynt ar fy ſoddi! os edrychwyf o'r tu ôl i mi, yr wyfi 'n gweled fy annuwioldeb yn ymlid fy enaid, megis llû yn barod i'm goddiwes a'm diſetha! os edrychaf o'r tu blaen i mi, yr wyfi 'n gweled yno dy Gyfiawnder a'th Farn ofnadwy, ac mi a wn nas cyfrifi di yr anwir yn gyfiawn, *ac ſy'n mynd ym mlaen yn ei bechodau*! Os edrychaf o'r tu mewn i mi, yr wyfi 'n gweled ynof galon dywyll ac aflan! Os o'r tu allan i mi yr edrychaf

drychaf, yr wyfi yn gweled y Bŷd fyth yn cynnig profedigaethau newydd i'm twyllo i! Os edrychaf i fynu, yr wyfi 'n gweled dy ddigllon a'th arswydus Fawrhydi. Ac os Edrychaf i wared, yr wyfi 'n gweled y llê o boenau di-ddiwedd, a'r gyfeillach yr wyfi 'n haeddu dioddef yn eu mysc! Mae arnaf ofn byw, Ac yr wyfi 'n fwy ofnus i farw.

Ond etto pan yr edrychaf ar dy anfeidrol Drugaredd, ac ar dy Fâb, a'r Cyfammod o Râs, y mae gobaith gennyf. Y mae dy Ddaioni di yn gyfattebol i'th Fawredd: Cariad wyt ti, ac y mae dy Drugaredd di ar dy holl weithredoedd. Mor rhefyddol ydoedd addfwyn dynerwch dy Fáb i Bechaduriaid, ac mor rhyfeddol y cyflawnodd ac y dioddefodd efe cymmaint er mwyn eu iechydwriaeth hwynt; ac y byddei fy ammheuon i am dy ewyllysgarwch i faddeu, yn chawnegu at fy holl bechodau, trwy ddianrhydeddu y Trugaredd anghyfflybol hwnnw, yr hwn yr ydwyt ti yn bwriadu ei ogoneddu.

Ie yn ychwaneg, yr wyfi 'n cael yn dy Air, dy fod ti yn Ghrist wedi gwneuthur Cyfammodd o Rás, a Gweithred o Ebergofiad yn yr hon yr wyt ti eusys wedi maddeu dy holl boblyn rhâd ar rywammodau; gan ganr iattâu iddynt faddeuant o'u holl bechodau, heb osod dim yn erbyn nêb, ac a ddychwelo attat ti ar un rhyw-amser, trwy Iesu Grist, â gwirflydd ac edifeirwch diffuant. Ac y mae dy Drugaredd presennol yn angchwanegu at

fyng

ſyng obaith i, oblegit nas torraiſt fi i lawr, ac nis rhoddaiſt fi i ſynu yn llwyr i galedrwydd ſy nghalon, eithr dangoſaiſt i mi ſy mhechod a'm perigl, cyn ſy môd yn ddi-obaith o wellhâad.

O edrych gan hynny i lawr o nefoedd dy ſancteiddrwydd ar Bechadur ſydd yn ymddaroſtwng o'th flaen di, yr hwn fel y Publican yn curo ei ddwyfron, ſydd a chywilydd arno edrych i ſynu tua'r nefoedd.

O Dduw bydd drugarog wrthif i bechadur. yr wyfi 'n cyfaddef nid yn unig ſy mhechod gwreiddiol, ond ynſydrwydd hefyd a gwylltineb ſy ieuengctid, ſy amryw bechodau o wybodaeth ac anwybodaeth, ſy mhechodau o eſceuluſdra ac o'm gwirfodd, ſy-niofalrwydd i wneuthur pethau gorchymynnedig, a'm parodrwydd i wneuthur pethau gwaharddedig; yn erbyn cyfraith natur, ac yn erbyn grâs ac efengyl dy Fâb!

Maddeu i mi, ac Achub fi o ſy Nuw, er mwyn dy anfeidrol drugaredd, ac er mwyn aberth ac haeddedigaethau dy Fâb, ac er mwyn dy addewidion o faddeuant pechodau, ac a wnaethoſt ti trwyddo ef: Canys yn y rhain yn unic y mae ſy holl ymddiried i.

Na farna mo honofi ſy'n barnu ſy hunan. O tydi yr hwn a agoraiſt y fath ffynnon werthfawr i bechod ac aflendid, golch fi yn llwyrddwys oddiwrth ſy anwireddau, a glanha fi oddiwrth ſy mhechodau. Er y galle i dy Gyfiawnder di ſy nanfon i yr awr hon i

Uffern, etto bydded i'th drugaredd di orfoleddu yn fy iechydwriaeth i. Nid oes gennit ti hoffder ym Marwolaeth pechaduriaid, ond yn hyttrach ar iddynt edifarhau a byw! Onid yw fy Edifeirwch i y cyfryw ac yr ydwyt ti yn ei ofyn, o Meddalha fy nghalon i, a dyro i mi Edifeirwch i fywyd! Tro fi attat dy hunan, ô Dduw fy iechydwriaeth, a gwna i'th wyneb-pryd firiol lewyrchu arnaf! Creâ galon lân ynof i o Dduw, ac adnewydda yspryd union o'm mewn! Na nessa mewn digofaint at y Plentyn truan afradlon hwn, y sydd yn dychwelyd attat: Eithr bydded i ti fy nerbyn i yn ôl amlder dy drugareddau! na fwrw fi ymmaith oddi gar dy fron, ac na farna mo honofi i ymadael â thi gyd â gweithredwyr anwiredd!

Tydi yr hwn a'm goddefaist yn ammyneddgar, pan i'th ddirmygais, na wrthod mo honof yn awr, a mi yn dy geisio di, ac ymma yn y llwch yn deisyf dy Drugared di! Ti a droaist ac a faddeuaist *Manasses* annuwiol, a *Saul* yr erlidiwr! ac y mae llaweroedd yn y nefoedd yn awr, y rhai y fuont gynt yn Elynion itti! Gogonedda gan hynny dy dra-fhagorol râs, trwy faddeu i mi fy nhra-aml bechodau.

Nid wyfi yn gofyn rhydd-did i bechu eilchwaith, ond ymwared oddiwrth y natur bechadurus hon. O dyro i mi Yspryd dy Fâb i'm hadnewyddu, ac i sancteiddio holl nerthoedd fy enaid! Bydded i mi gael yr ail-enedigaeth,

nat-

natur newydd a ſanctaidd, ac yſpryd mabwy-ſſiad, i'm diwygio a'm gwellhau yn ôl dy lûn a'th ddelw dy hunan, fel y gallwyf fod yn ſanctaidd megis ac yr wyt ti yn ſanctaidd.

Goleua fy Neall i â iachuſol wybodaeth o honot dy hunan ac o'th Fâb Ieſu Criſt. O llanw fi â'th Gariad, fel y gallwyf oſod fy nghalon yn llwyr arnat ti, ac fel y gallo y coffadwriaeth o honot ti, fôd yr hyfrydwch pennaf i mi. Bydded i'm meddyliau rhwy-ddaf a melyſaf redeg yn dy ôl di! A bydded fy ymadroddion rhwyddaf a melyſaf, yn ymadroddion am danat ti, ac am dy Ogoniant, a'th Deyrnas, a'th Air, a'th ffyrdd di. O bydded i'm Trysſor i fôd wedi ei dryſſori yn y Nêf, a bydded fy ymarweddiad feunyddiol yno, a hynny gydag hyfrydwch calon. Gwna i'm Henaid ſydd wedi ei gyſſegru i ti, ymdrechu yn fawr ac yn feunyddiol, i ryngu bôdd i ti, ac i'th anrhydeddu di, ac i helaethu dy Deyrnas di, ac i wneuthur dy ewyllys di! A goſod dy ofn yn fy nghalon, fel na chiliwyf bŷth oddiwrthit. Fe gafodd y Byd hwn ormodd o'm calon i euſys: Bydded iddo yn awr fod wedi ei groeſ-hoelio i mi, a minne iddo yntef, trwy groes Ieſu Griſt.

Na fydded i mi garu y Byd, na'r pethau ſydd yntho: Ond os bydd gennif ymborth a dillad, gwna mi 'n fodlon ar hynny.

Difetha pob trachwant cnawdol ynof; fel na byddwyf byw mwyach yn ôl y Cnawd, ond yn ôl yr Yſpryd. Cadw fi rhag maglau

drwg gyfeillach, a rhag cynghorion a ffyrdd yr annuwiol. Bendithia fi â chynnorthwyol gymmundeb dy Seintiau, ac â'r holl foddion a ordeiniaisti i ddwyn ym mlaen ein Sancteiddiad a'n iechydwriaeth. *O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddedfau!* Na fydded i mi drachefn droi yn ôl at ynfydrwydd, nac anghofio Cyfammod fy Nuw! Helpa fi i wrthwynebu ac i fathru y cynhyrfiadau cyntaf i bechod, ac i ffieiddio pôb dymuniadau a meddyliau pechadurus; a byddedd i'th Yfpryd fy nghryfhau yn erbyn pob mâth o brofedigaethau, fel y bo i mi eu gorchfygu hwynt, a pharhau yn dy ffyrdd hyd y diwedd.

Parattoa fi erbyn dioddefiadau, ac erbyn marwolaeth, a'r farn fydd i ddyfod, fel pan bo rhaid i mi ymadael â'r Bŷd pechadurus hwn, y gallwyf yn llawen orchymmyn fy Enaid wrth ymado â'r Corph, i ddwylo fy Mhrynwr anwyl a ffyddlon, fel na chyfrifir mohonof ym myfc yr annuwiol fy'n marw heb faddeuant pechodau, ac yn myned i boenau tragwyddol: A dymuno yr ydwyf ar fy nghael y prŷd hynny yn Ghrift, gan fôd wedi 'm gwifco âr cyfiawnder fydd o Dduw trwy ffydd, a gallael o honof gyraedd adgyfodiad y Cyfiawn: fel y bo i gofladwriaeth y pechod a'r trueni y gwaredaift fi oddiwrthynt, beri i'm diolchgarwch a'm mawl ymheiaethu fwy fwy, byth bythoedd, i ti fy Nghreawdwr, a'm Prynwr, a'm Sancteiddiwr.

Ac o na elwit, ac na ddychwelit ti attat dy hunan y cenhedloedd truain ſydd Eulun-addolwyr a di-grêd; a'r Tyrſaoedd o Ragrith-wyr annuwiol, y ſy'n dwyn enw Criſtianogion, heb ddim o'u gwirionedd, a'u grym, a'u bywyd hwynt ynddynt!

O danſon weithwyr i'th gynhaiaf, ſef Gweinidogion ffyddlon i bregethu 'r Efengyl, ac na fydded i Satan eu rhwyſtro hwynt. Dyro lwyddiant i'th Efengyl, ac i Deyrnas dy Fâb, fel y bo i bechaduriaid yn aml iawn gael eu troi atat ti, ac y bo i'r ddaiar hon fod yn debyccach i'r Nêf: fel pan y ceſglu di ni ôll i undeb yn Ghriſt, y gallo pawb o honom ni, â pherffaith Gariad a Llawenydd gyfaddef o'n calonnau, fôd y Deyrnas, a'r Gallu, a'r Gogoniant yn perthynu i ti, yn oes-oeſoedd. *Amen.*

---

## *Mawl a Gweddi iw arfer ar Ddydd yr Arglwydd.*

Y Gogoneddus *Jehofa*, tra fo Angylion ac yſprydoedd y rhai a berffeithiwyd yn dy foli di yn y Nêf, yn Nheyrnas dy Ogoniant; Ti a ganniatteaiſt, ac a orchymynnaiſt i ninne gymmeryd rhan o'r gwaith yn llaw yma ar y Ddaiar, yn Nheyrnas dy Râs: y mae gennym ni yr vn Duw tra ſanctaidd iw foli ar

ar y ſydd ganthynt hwythau: Ac er nad ydym ni yn dy weled di ; etto y mae ein Pen a'n Hachubwr yn dy weled di ; ac y mae ein ffydd ni yn dy ddirnad, ac yn dy ganfod di, yn y Drŷch o'th weithredoedd a'th Air Sanctaidd.

Er ein bôd ni yn Bechaduriaid, ac yn dra annheilwng,ac nas gallwn gyffwrdd â phethau ſanctaidd heb eu halogu hwynt, etto y mae gennym ni Archoffeiriad mawr yn ſefyll ger dy fron di, yr hwn ſydd ſanctaidd, diddrwg, dihalog, a didoledig oddiwrth Bechaduriaid ; ac y mae fo yn ymddangos troſom yn y neſoedd ; ac yn haeddedigaethau ei ſywyd difrycheulyd a'i aberth ef, a thrwy ei gyfryngdod ef yn vnig, yr ydym ni yn gwneuthur yn con ac yn hŷf, i offrymmu aberth o Fawl i ti y tra ſanctaidd Dduw. Ti a ordeiniaiſt y Dydd hwn o orphwysfa ſanctaidd i fôd yn Arwydd o orphwysfa dy Eglwys orfoleddus yn y Nêf,ac yn fôdd i ddwyn pobl i mewn i'r orphwysfa honno, at ba vn yr ydym ninne yn tueddu mewn gobaith o'i meddiannu. Ti a dderbynniaiſt iſel foliant dy ſaint ar y Ddaiar, cyn iddynt ddyfod i'r Nêf i'th foliannu yn y Gogoniant : O Derbyn Attolwg ein Mawl ninnau, trwy yr vn Cyfryngwr.

Bydded Gogoniant i ti ô Dduw yn y goruchaf ; ac ar y ddaiar tangneddyf ; i ddynion ewyllys da. Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw Hollalluog, yr hwn oedd, yr hwn ſydd, a'r hwn ſydd i ddyfod. Ti wyt Dduw

o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, heb ddechreu ac heb ddiwedd. Yſpryd anfeidrol, ac annherfynedig wyt ti y *Tâd*, y *Mâb*, a'r *Yſpryd* Glân: Ac y mae dy *Fywyd* a'th *Ddeall*, a'th *Ewyllys*, a'th *Allu*, a'th *Ddoethineb*, a'th Ddaioni yn ddiderfyn ac yn anfeſurol. O honot ti, a thrwyddo ti, ac i ti y mae pôb peth: i ti y byddo gogoniant yn dragywydd.

Y mae dy holl weithredoedd yn datcan dy ogoniant; canys y mae dy Berffeithrwydd gogoneddus yn ymddangos ynddynt oll, ac er mwyn dy Ogoniant, a'th Ewyllys ſanctaidd dyhun y creaiſt ti hwynt oll. Y mae'r Nefoedd a'u holl lûoedd, yr Haul, a'r holl ſêr gogoneddus, y Tân, a'i oleuni a'i wres, y Ddaiar a chwbl ſy'n preſſwylio arn, a'i holl hyfryd Degwch a Harddwch; yr Awyr a'r goruchelion; y Moroedd mawrion a'r cwbl ſy'n nofio ynddynt, yn goſod allan dy fawl a'th ogoniant di y Creawdwr Mawr.

Mor anfeidrol yw y Gallu hwnnw ac a greodd Fŷd mor fawr o ddim! ac ſydd yn troi â'r ſath gyflymder rhyfeddol y Goleuadau mawrion gogoneddus, y rhai ydynt mewn munedyn yn danſon allan rhinweddau eu ſymmudiad, a rhinweddau eu goleuni a'u gwrês, trwy'r holl Awyr, i'r Môr, ac i'r Ddaiar! y mae dy *Fywyd galluog* di yn rhoddi Bywyd i bawb; ac y mae'n cynnal pob peth a greaiſt, ynghyd â threfn naturiaeth a ordeiniaiſt.

Mor ogoneddus yw'r *Doethineb* hwnnw ſydd

yn trefnu pôb peth, ac yn gosod i bôb un ei lê a'i swydd, a thrwy gyfreithiau perffaith yn dal i fynu harddwch a chyttundeb y cwbl! Mor ogoneddus yw y Daioni a'r cariad hwnnw, ac a wnaeth bôb peth yn dda; ie yn dda iawn.

Yr ydym ni yn dy foli ac yn dy ogoneddu di ein Harglwydd a'n Perchennog; canys dy eiddo di dy hun ydym ni a phôb peth arall. Ni a'th folwn, ac a'th ogoneddwn di ein Brenin a'n Rheolwr; canys dy Ddeilaid ydym ni, ac y mae ein hufydd-dod perffeithiaf yn ddyledus i ti: Mae dy holl Ddeddfau a'th Farnedigaethau yn gyfiawn; ac y mae pob rhan o'th Air di yn wir ac yn ficcr. Ni a'th folwn ac a'th ogoneddwn di yr hwn wyt Rhoddwr pôb peth da inni; ynot ti yr ydym ni yn byw, yn fymmud ac yn bôd. Yr hyn ôll ar a ydym ni, neu ar y fydd gennym ni, neu ar a allom ni ei wneuthur ar fydd dda, ydynt yn hollawl o honot ti; a thydi ydwyt ffynnon pôb daioni: A thi a wnaethost bôb peth er dy fwyn dy hun; a thydi yw ein Diben ni ôll. Ein Dyledfwydd pennaf, a'n hunic ddedwyddwch ni ydyw dy garu di â'n holl galon: Canys Cariad wyt ti ac hawddgarwch annherfynol.

Pan darfu i Ddyn trwy bechod droi ymmaith ei galon oddiwrthyt ti, a chredu y Temptiwr yn erbyn dy Wirionedd di, gan ufyddhâu iw fynhwyrau cnawdol ei hun o flaen dy Awdurdod a'th Ddoethineb di, ac ymwrthod

thod â'th dadol gariad ath ddaioni,ſo a ddaeth i fôd yn Eilun iddo ei hun: Ac etto ni thriniaiſt ti mo hono ſe yn ol ei haeddedigaeth: Pan yr ymmadawſnom a thi, ni ymadawaiſt ti yn llwyr â nyni: Pan y collaſom ein hunain, a thrwy bechod a ddaethom i ſod yn Elynion i ti, ac oeddym yn ôl dy Gyfraith di mewn ſtât o ddamnedigaeth; Dy Drugaredd a doſturiodd wrthym, ac a roddodd i ni yr Addewid o Iachawdwr: yr hwn yng-hyflawnder yr amſer a gymmerodd ein Naturiaeth ni, a gyflawnodd dy Gyfraith di,ac a ddioddeſodd tros ein pechodau ni; a chan orchfygu marwolaeth, a adgyfododd, a eſcynnodd i'r Nêf, ac Eſe yw ein Pen a'n Eiriolwr gogoneddus. Ti a'i derchefaiſt ef i fôd yn Dywyſog, ac yn Iachawdwr; i roddi i ni Edifeirwch a maddeuant pechodau. Trwyddo fe yr wyt ti yn rhoddi Maddeuant, a Chyfiawnhâad, Heddwch,a Mabwyſiad,trwy Gyſammod o Râs i bôd Credadyn edifeiriol. Ac o fôd yn elynion i ti,ac yn etifeddion vffern a damnedigaeth,ti a'n gwnaethoſt ni ynBlant ac yn Etifeddion o fywyd, ac o'r Nefoedd.

Pentewynion ydym ni a dynnaiſt ti o'r tân; a chaeth-weiſion a waredaiſt ti o ddwylo Satan; A phechaduriad oeddym ni mewn ſtât o ddamnedigaeth, ac a rhoddaiſt ti bardwn iddynt! yr ydym yn dy foli, ac yn dy anrhydeddu di ein Duw trugarog, an Prynwr graſlon! y mae gan ein eneidiau ni yn awr Noddfa rhag dy ddialeddus ddigofaint!

faint! Mae dy Addewid yn ſiccr: Mae Satan, a'r Bŷd, a Marwolaeth wedi eu gorchfygu: Fe gyfododd ein Harglwyd Ieſu; y mae fo wedi cyfodi, a ninne a gawn gyfodi trwyddo'fe. O Angeu pa le y mae dy golyn? O Vffern pa le mae dy fuddygoliaeth? y mae 'n Iachawdwr wedi derchafu at ei Dâd ef, ac at ein Tâd ninne, at ei Dduw ef, ac at ein Duw ninne; a ninnau hefyd a gawn dderchafu atto ef. Iw ddwylo ef y gallwn ni orchymyn ein eneidiau wrth ymadael a'r Corph. Mae 'n Pen wedi ogoneddu, ai Ewyllys a'i addewid ef ydyw, y cawn ni fôd gydag ef, lle mae yntef, i weled ei Ogoniant ef: y mae fo wedi 'n ſelio ni i hynny trwy ei Yſpryd Glân. Ni fuom feirw mewn pechodau, eithr efe a'n bywhâodd ni: Buom yn y Tywyllwch o anwybodaeth ac anghrediniaeth, eithr efe a'n goleuodd ni: Buom yn anſanctaidd, yn gnawdol, a Chwedi 'n gwerthu tan bechod; eithr efe a ſancteiddiodd ein hewyllys, ac a laddodd ein trachwantau. Yr ydym ni 'n moli ac yn gogoneddu *Yſpryd* y Bywyd, gydâ 'r *Tâd* a'r *Mâb* ſydd yn ei ddanfon ef, i *Fywhâu*, i Oleuo, ac i weithio *Cariad* nefol, yn ein Eneidiau meirw, tywyll, ac anghariadus.

Ti a'n creaſt, a'n Prynaiſt, ac a'n ſancteiddiaiſt i'th Garu, a'th Foli, a'th waſanaethu di mewn ſancteiddrwydd. O pâr i'n eneidiau dueddu mor naturiol tuagat y pethau hyn, ac y bônt hwy yn orchwyl ac yn hyfrydwch

ein

ein holl Fywyd! O perffeithia ynom ein grasusau llêsc a gweinion, fel y bo i'n Cariad a'n Mawl ni fôd yn fwy perffaith! yr ydym yn diolch i ti am dy Air a'th Ordinhadau sanctaidd, am gyssuron y Cynnulleidfaoedd sanctaidd, am gymmundeb dy seintiau, ac am drugareddau dy Sabbothau sanctaidd. Eithr na fydded ith Fawl di fôd wedi ei rwymo yn unic i'r Dyddiau hyn, gwnâ iddo fôd megis ein bywyd, a'n hanadl, a'n gorchwyl beunyddiol.

Ni a Ewyllyssiem dy foli di ag Eneidiau mwy sanctaidd a mwy llawen! Eithr pa fodd y gallwn ni wneuthur hynny â chyn wanned ffydd, y rhai ydym mor dywyll yn ein gwybodaeth, a mor ddieithr i ti, gan fôd a chyn lleied siccrwydd o'th ffafor di, ac o'n iechydwriaeth ein hunain?

A allwn ni ddiolch i ti'n iawn am y grâs yr ym ni fyth yn amheuo am dano, gan fôd yn ansiccr a ydyw fe gennym a'i nad ydyw? Ni ddymunem fôd yn debyccath i'r Eneidiau gwynfydedig yn y nêf, y rhai sy'n dy foli di heb ddychryn a marweidd-dra. Ond pa fodd y dichon hyn fôd, tra 'r ydym yn dy garu di cyn lleied, ac yn meddiannu cyn lleied brawf a theimlad o'th Gariad dithau? a thra ydyw y llwyth hwn o bechod yn ein gwasgu ni i lawr, a ninne wedi 'n llyffetheirio â'r gweddillion o'n Gwyniau cnawdol? o lladd y balchder hwn, a'r hunan-geisio, a'r trachwantau, a'r Gwyniau pechadurus sydd ynom.

Difetha di y Tywyllwch a'r Anghrediniaeth hwn, a'n holl bechodau; canys gelynion ydynt i'th ogoniant di ac i'n eneidiau ninnau. Gwna ni yn fwy sanctaidd ac yn fwy nefol; Ac O dwg ni yn nessach attat ti dy hunan mewn ffydd a chariad, fel y gallom fôd yn gymmhwysach i'r gorchwyl nefol hwn, sef i foli dy Enw di.

Canniattá ychwaneg o'th Yspryd i'th holl Eglwysydd a'th bobl yn y Byd. Ac megis ac y darfu i dywyllwch, a hunan-geisio, ac ammherffeithrwydd eu halogi, a gwneuthur rhwygiadau yn eu plith, a'u gwanhau hwynt, a pheri iddynt fod yn Dramcwydd ac yn achos o galedwch i'r rhai Digrêd: felly bydded, (trwy dywalltiad dy Yspryd arnynt mewn mwy messur) iw gwybodaeth hwynt, a'u hunain-ymwadiad, a'u cariad cymmwys ac annhueddol, eu gwir ddiwygio, a'u huno, a'u cadarnhau hwynt; fel y byddo i Ogoniant eu sancteiddrwydd hwynt ennill y Byd digrêd i gredu yn Iesu Ghrist.

O nâd i Satan gadw a chynnal i fynu ar y Ddaiar, Deyrnas mor helaeth, yn llawn o Greulondeb, Anwybodaeth, ac annuwioldeb, gan wneuthur y Byd hwn megis lle ar gyffiniau Uffern: Ond Gwna 'r Ddaiar i fôd yn fwy tebyg a chyd-ffurfiol i'r Nêf, yn y gwaith o ogoneddu dy Enw sanctaidd di, o dderchafu dy Deyrnas di, a gweuthur dy gyfiawn a'th sanctaidd Ewyllys di. Bydded dy ffordd di wedi ei hyspyssu ar y ddaiar, a'th iechydwriaeth

aeth ym mhlith yr holl genhedloedd. Moliannned y bobl di ô Dduw: moliannned yr holl bobl dydi! Dyro y cenhedloedd yn etifeddiaeth i'th Fâb: a thrwy dy Efengyl goleua di y Bobloedd dywyll ar y Ddaiar, y rhai a adawyd hyd yn hyn i rodio yn eu ffyrdd eu hunain. Gwna i bôb glîn blygu a bod yn vfydd iddo fe, a phôb tafod gyffessu mai efe yw Crist, fel y bo Gogoniant i tydi, a iechydwriaeth iddynt hwythau. Parattoa di, a danfon allan Gennadon dy Râs drwy 'r holl Ddaiar. Gwared dy holl Eglwysi rhac Pechod, Rhwygiadau, a Gorthrymderau. Parhaed dy Air sanctaidd a'th Addoliad yn y Teyrnasoedd hyn, tra bo'r Bŷd yn parhau.

Bendithia 'r Brenin â'r fath Ddoethineb, Cyfiawnder, a sancteiddrwydd, ar sydd angenrheidiol tuagat ei ddiogelwch, a'i heddwch, a'i lwyddiant ei hun a'i Bobl: Ac yn yr vn môdd bendithia bawb ar y sydd mewn Awdurdod tano. Dyro Weinidogion i'n holl gynnulleidfaoedd ni, ac y fyddo fel Goleuadau yn llosci ac yn llewyrchu yn eu mysc hwynt, fel na ddifethir pobl yn eu hanwybodaeth a'u hannuwioldeb, o eisieu eu cyfarwyddo a'u cynghori. Ac agor galonnau pobl i dderbyn dy Air di, a phar iddynt wybod amser eu hymweliad. Bydd drugarog wrth y cystuddiedic, yn eu clefydau, eu henbydrwydd, eu diffygion, ac yn eu holl dristwch, yn ôl dy drugarogrwydd di, a'u hangenrheidiau hwythau.

Bydded

Bydded i holl Weddiau a Mawl y ffyddloniaid trwy 'r Bŷd, y ddanfonir i fynu attati y dydd hwn, i Nefoedd dy Sancteiddrwydd, yn enw y Cyfryngwr cyffredinol, fod yn gymmeradwy gyda thi trwyddo fe, er maint eu ammherffeithrwydd a'u brychau, a'r barnau, ymbleidiau, a'r camweddau, y rhai yn eu drwg anwydau y maent yn euog o honynt, y naill yn erbyn y llall.

Bydded iddynt ymgyfarfod megis vn yn Ghrist ein Pen, er eu bôd yn ymbellhau oddiwrth eu gilydd yn gyndyn ac yn echrydus. Parattoa ni oll i'r Bŷd hwnnw o heddwch, lle ni all na phechod, na blinderau, na dychryniadau, nac ymryssonau fŷth rwystro a thorri y cyttundeb hyfryd hwnnw o Gariad a Mawl cyffredinol; ond fe fydd y cwbl wedi ei berffeithio i'n llawenydd ni a'th ogoniant dithe, trwy ein Cyfryngwr gogoneddus, yr hwn a'n dyscodd, pan weddiom, i ddywedyd. *Ein Tâd yr hwn wyt yn y Nefoedd*, &c.

DIWEDD.

# Y Cynhwysiad.

## Agoriad ar ryw eiriau anhyspys i rai pobl yn *Nehau-barth.*

Achlysur, *Achos, amser cyfaddas.*
Adeg, *Arfod, achos.*
Adferu, *Adnewyddu.*
Adyn, *Truenus.*
Affaith, *euogrwydd.*
Affeithiol, *euog, cyfrannog.*
Amgyffred, *cynnwys, dealldwriaeth.*
Amgyffrediad, *cyrraedd, gwybodaeth.*
Ammor, *Dedwyddwch.*
Amrafael, *Amryw.*
Anathema, *Melldigedic.*
Anesgorol, *llawn dirasrwydd, anorchfygol.*
Anfad, *mawr-ddrygiog.*
Anghyfartal, *Digyffelyb.*
Anhwylus, *ammheus.*
Anhybwyll, *ansynhwyrol, cyndyn.*
Anllad, *wantan.*
Anlladrwydd, *chwant y cnawd.*
Anolrheinadwy, *anchwiliadwy.*
Ansiommedic, *didwyll.*
Ansuttiol, *anhardd.*
Antur, *Rhyfyg, menter perygl.*
Anturio, *mentro, dodi mewn perygl.*
Anwiw, *anheilwng.*
Anwydau, *a Gwyniau* 'r enaid yw, *cariad, chwant, casineb, llawenydd, hyfrydwch, tristwch, digofaint, gobaith, ofn*, &c. ac y mae 'r rhain weithie allan o drefn, yn *caru* y pethau y ddylit eu *casau*, *ac yn casau* y pethau y ddylit eu *caru*, &c.
Araith, *ymadrodd.*
Arddel, *profiad, sail, rheswm.*
Arddeledic, *wedi awdurdodi.*
Arlwyo, *parattoi.*
Artaith, *poen.*
Arteithio, *poeni.*
Aruthrol, *ofnadwy, rhyfeddol.*
Astudrwydd, *Dyfalwch, gofal.*
Athrylith, *Naturiaeth, tueddiad.*
Beision, *gorisel.*
Bendew, *cyndyn.*
Berwyl, *diben, amcan.*

Betrusder, *dowt, ammheuaeth.*
Betrusach, *mwy ammheus.*
Bradog, *bradwrus.*
Braithic, *a weithio, practical.*
Brestl, *cymmen, coeth.*
Briodoledd, *Tryssor nailldwol.*
Budreddiaid, *bryntion.*
Butraf, *brwntaf.*
Câd, *ymladd, rhyfel.*
Camrau, *cammau, cerddediad.*
Cellwair, *jesto.*
Cethin, *ofnadwy.*
Cethinech, *Dychrynech.*
Chwimio, *Symmud.*
Chwirliwyd, *Tafliwyd.*
Chwithdod, *rhyfeddod.*
Cyweithas, *mwyn, tirion.*
Cludo, *dwyn.*
Crefu, *taer. ddeisyf.*
Crefwr, *ymbiliwr.*
Cribddeiliwr, *Treisiwr.*
Crôch. *uchel.*
Cruccunod, *tân-gwyllt.*
Cydafel *ffôl.*
Cyfareddion, *meddyginiaethau, cynnorthwyau.*
Cyferbynniadau, *gwrth-ddrychau, objects.*
Cyflafan, shift, *mawrddrwg.*
Cyflwyno, *rhoddi, presentio.*
Cyhydedd, *gogyfuwch.*
Cymhelrhi, *taerni, trafferth.*
Cynnyscaeddu, *ffwrneisio, diwallu.*
Cyphyriau, *offerynnau, matter.*
Cwlio, *neillduo.*
Dadl, *ymryson, achos.*
Dadlu, *pledo, ymressymu.*
Darluniad, *gosodiad allan.*
Denu, *hudo, tynnu trwy deg.*
Dewr, *cryf, eon.*
Diamgyffred, *yr hyn nid ellir ei ddeall.*
Diattreg, *dioed.*
Dibleidiol, *dibartiol.*
Diddadl, *anymryssongar.*
Diddarbod, *Esgeulus, anhcimladwy.*
Di-ddarn-ymeiriach, *heb arbed eich hunain mewn rhyw bethau.*
Diengfau, *shiffts.*
Difraw, *Diofal.*
Difrif, *prûdd, pryssur.*
Difrodi, *dinistrio.*
Diffuant, *pur-lân, diragrith.*
Digyfrwng, *immediate,*
Digyfrwng ddatcuddiad *yw datcuddiad oddiwrth Dduw heb-*

*heb foddion*, megis heb y scrythyrau a phregethwyr.
Dihenydd, *cospedigaeth.*
Dihir, *atgas, drygionus.*
Dihiraf, *y gwaethaf.*
Dihired, *cynddrwg.*
Dilachr, *diofn.*
Dinam, *yn siccr.*
Dios, *diau, dilys.*
Diosc, *diwisco.*
Dirboeni, *poeni'n greulon.*
Dirfing, *llymdost.*
Dirio, *cymmell.*
Diriwyd, *annogwyd.*
Dirnad, *deall.*
Disas, *gwael, gorisel.*
Distadlu, *gwneuthur yn wael.*
Distadlaf, *gwaelaf.*
Diswtta, *yn ebrwydd, disymmwth.*
Diwydrwydd, *dysalwch*
Diwygio, Diwygiad, *gwellhau, gwellhaad.*
Diwygiol, *a atcyweiriwyd.*
Dosparth, *gwahaniaeth, rhanniad.*
Dwyfol, *duwiol, nefol.*
Dwyfol-ddwys, *anrhydeddus.*
Dwys, *pwysig, prudd, mawr.*
Dwys-ddadl, *ymryssongar, argyhoeddus.*
Du, ar dy du, *ar dy ystlys.*
Difinwyr, *gweinidogion dysccedig.*

Dyfyn, *gwys; gwyssio.*
Dygn, *blin, poenus, taer.*
Dygngas, *blin, anhardd.*
Dynwaredant, *canlynant.*
Dyre, *drygchwant.*
Effeithiau, *gweithrediadau.*
Effeithiol, *nerthol.*
Efrydd. *dost.*
Ehang, *ehelaeth.*
Eiddil, *gwael.*
Eidduno, *gwedi gyssegru*
Enfa, *Cwrb ceffyl.*
Erchyll, *ofnadwy.*
Erwindeb, *dychryn.*
Fadws, *mae'n amser.*
Fathru, *dansang.*
Feddfaeth, *moethus.*
Ferwino, *dwys-bigo.*
Fonllefain, *cri mawr.*
Freiniol, *rhagorol, rhydd*
Freintiau, *anrhydedd.*
Frochwyllt, *ffyrnigwyllt*
ffwdan, *ffrwst, trafferth*
Ffwdanu, *bryssio.*
Fwmpwy, *plesser, ni cheidw* efe fwmpwy, *hynny yw,* ni ymostwng efe i *ewylls pobl*
Gaeadlen, *cwrten.*
Galanasdra, *gelyniaeth.*
Gatholic, *cyffredinol.*
Geccryffon, *ymryssonau.*
Gerwin, *garw, tost.*
Gerwindeb, *dychryn.*
Gewyn, *giau.*
Glydio, *cyssylltu.*
Goelfain, *credit, awdurdod.*
Gogan-air, *drygair.*
Gogan-wyr, *difenwyr.*

Go-

Gorhydrus, *cryf.*
Gorphwyllo, *gwallgofi.*
Gorphwyllog, *ynfyd, cyndyn.*
Greddfol, *da ei ddull, gwreiddiol,* trwy arfer wedi dyfod i fod megis yn naturiol.
Guwch, *sarrugrwydd.*
Gwarrio, *treulio.*
Gwarthus, *gwaradwyddus.*
Gweinyddu, *gwasanaethu.*
Gwiw, nid gwiw, *ni thyccia.*
Gwladeiddio, *cywilyddio.*
Gwyro, *cammu.*
Gydol, *i gyd oll.*
Gyfaccen, *matter o wradwydd.*
Gyfannedd, *parhaus, perffaith*
Gyfansoddiad, *cyssylltiad.*
Gyflwynwyd, *a osodwyd, bresentiwyd.*
Gynllwyn, *gwneuthur dichellion i ddal.*
Haflug, *crug, amledd.*
Ham, am ei ham, *yn ddiachos.*
Hamdden, *seguryd.*
Hanfod, *sylwedd.*
Herr i chwi, *rwi 'n eich annog neu 'ch Sialens.*
Hoedl, *bywyd.*
Hurtyn, *ffolyn.*
Hustyngwr, *grwgnachwr ynghefen.*
Hwylio, *perswadio cyfarwyddo.*
Hyblygedd, *tueddiad.*
Hydraidd, *a drywano.*
Hyffordd-reol, *rheol gyfarwyddiad.*
Hygoel, *credadwy.*
Hyll, *creulon, ofnadwy.*
Hyrad, *o ewyllys da, yn rhâd.*
Hyrddio, *cymmell.*
Hyrwym, *caeth, yn ymroddi.*
Lledfeddod, *dwl.*
Lefus, lefasu, *faidd feiddio.*
Llefeswch, *feiddiwch.*
Lleigus, *ambellwaith.*
Llithio, *tynnu trwy deg.*
Lluddias, *rhwystro.*
Llygad-tynnu, *rheibio.*
Llyssiant, *gwrthodiad.*
Llysu, *gwrthod.*
Mannu, *cyffroi.*
Merwino, *a chossi arno.*
Moesgar, *gweddaidd.*
Mwmpwy, *Ewyllys, plesser.*
Mwydwch, *Glychwch.*
Nwyfus, *Drwg-chwantus.*
'Nygnedd, *dyfnder.*
Olrhen, *Dilyn ôl traed.*
Orlais, *Deial.*
Osgo, *gogwyddiad.*
Osteg, *ar gyhoedd.*
Pentwyno, *cwympo.*
Perwyl, *diben.*
Portreiadu, *gosod allan.*
Priddel, *Clotsen, dryll o bridd lester.*
Prif, *pennaf.*
Pryssuro, *ffrwstio bryssio*

Redo[illegible] *[illegible]ddiol.*
Rhadau, *graffusau.*
Rhagddarbod, *rhag-barattoad.*
Rhusent, *ymatealient.*
Riniau, *rhinweddau.*
Sarrhâus, *gwradwyddus*
Seibiant, *gorphwysfa.*
Serth, *ffieidd.*
Siapri, *mwyn eiriau.*
Siommi, *twyllo.*
Siommedic, *a dwyllwyd.*
Sittrach, *plethedig, anrhefnus.*
Sutt, *agwedd.*
Swsachlud, *esgeulus, ysgafn.*
Swyngyfareddwr, *swynwr.*
Synhwyrau ydynt ein *gweled, clywed, arogliad, blassu a Theimlad.*
Synn, *Brawychus.*
Taerddrudd, *nerthol, gwyllt ruthro.*
Talgryfion, *digwilydd.*
Termau, *ammodau.*
Tesach, *dryg-chwant.*
Torfynglu, *Torri gwddwg.*
Tragwerthwiw, *nad ellir ei bryssio.*
Trancelled, *traflwngc, dracht.*
Trem, *golwg, wynebpryd.*
Trofaus, *cyndyn.*
Trwydded, *rhydd-did, defod.*
Twrr, *crug carnedd.*
Weinyddu, *gwasanaethu.*
Wladaidd, *cywilyddgar.*
Wrthun, *hagr, brwnt.*
Wylder, *cywilydd.*
Wyniau, *tuedd, meddwl trachwantau.*
Wyrːdynu, *traws dynnu*
Ymbepreth, *cytgam.*
Ymchwidawiaeth, *segura, treifflan.*
Ymdderru, *cyffroi.*
Ymddyludo, *ysgog, cael eich dwyn.*
Ymhyrddu, *ymwthio*
Ymreibio, *ymdroi.*
Ymwarsythu, *bod yn gyndyn.*
Ynaid, *barnwyr.*
Ysgyflgai, *cyfrwys.*
Ysmala, *ysgafn, annochelgar.*
Ysmiccio, *syflyd, myned ymaith.*
Ystod, *cwrs, rhediad.*
Ystryw, *Cyfrwysder, malis.*
Ystrywgar, ystrwygus *maleisus, dichellgar.*

---

## Beiau yn y Print.

| *Yn lle* | *Darllen.* |
|---|---|
| ffrydd | ffyrdd. |
| hapuswydd | happusrwydd |
| nidogion | weinidogion |
| * ry iawn ffordd | * yr iawn ffordd |
| [illegible]scrytharu | yscythru. &c. |